Presented to the Historians Office

by Elder Dan Jones,

and furnished by his wife, at his request,
during his absence. Aug 30. 1855

Tracts by Dan Jones
&
The Millennial Prophet
Vol 2-

HANES

# SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

O'U

SEFYDLIAD YN Y FLWYDDYN 1823,

HYD YR AMSER YR

## ALLTUDIWYD TRI CHAN MIL O HONYNT

O'R AMERICA OHERWYDD EU CREFYDD,

YN Y FLWYDDYN 1846.

---

"GWELWCH yn mysg y cenedloedd, ac edrychwch, rhyfeddwch yn aruthrol; canys gweithredaf weithred yn eich dyddiau, ni choeliwch er ei mynegu i chwi."—HABACUC.

"Canys ni wna yr Arglwydd ddim a'r nas dangoso ei gyfrinach i'w weision y prophwydi."—AMOS.

---

MERTHYR-TYDVIL:

CYHOEDDWYD, AC AR WERTH, GAN CAPT. JONES,
AC AR WERTH HEFYD GAN LYFRWERTHWYR ERAILL.

ARGRAFFWYD GAN J. JONES, RHYDYBONT.

# CYNNWYSIAD.

# RHAGLITH.

---

ANWYL DDARLLENYDD,—

Dyma ni yn cymhell arnoch un llyfr newydd etto at yr oll a gyhoeddwyd; ond ni chynnygiodd neb arall erioed i chwi lyfr mor newydd, ac mor rhyfedd ei gynnwysiad â hwn. Yn y llyfr hwn cewch hanes difyrus a gwirioneddol am ddwyfol sefydliad y gyfundraeth hòno a elwir "*Mormoniaeth,*" neu, yn fwy priodol, crefydd *Saint y Dyddiau Diweddaf*.

Digonol yw'r holl gyhoeddi, y pregethu, a'r dweyd sydd drwy ein gwlad yn erbyn y gyfundraeth hon, er profi yr ystyrir hi yn wrthddrych teilwng o sylw cyhoeddus, yr hyn sydd gydradd ag addef mai goreu pa fwyaf a feddwn o'i hanes; ac nid ammheuir ychwaith a'r nad yn gyferbyniol i'r wybodaeth hòno ein galluogir i ffurfio barn gywir am dani; canys gobeithiwn nad oes un dyn yn yr oes oleu hon a foddlona i gymmeradwyo nac i wrthod cyfundraeth a broffesa fod yn ddwyfol, heb roddi iddi arholiad teg o flaen brawdlys ddiduedd.

Dichon rhai pethau yn y llyfr hwn hefyd ymddangos yn fwy anhygoel ar yr olwg gyntaf nag y profa ymchwiliad manylach eu bod. Etto, ddarllenydd hynaws, tystiwn yn ddifrifol mai cyflwyno hanes cywir o'r gwrthddrych dan sylw yw ein prif amcan, a thystiwn ei fod i'w gael yn y llyfr hwn hyd y cyrhaedda yr hanes; ac nid fel y llyfrau a ysgrifenwyd yn ein herbyn, wedi eu sylfaenu ar yr ystorïau a'r chwedlau disail a draethir o ben i ben, ond oddiar y tystiolaethau cywiraf a allem gael, a rhesymau, ffeithiau, ysgrythyrau, a gwirioneddau, a ystyriwn yn anwrthwynebol.

Tystied ein hunanymwadiad yn gadael ein holl fasnach, yr hon oedd yn ennillfawr iawn, a dyfod saith mil o filltiroedd o ffordd, ac yna yn cydio yn gyntaf un yn ein hysgrifell, ac yn anturio ein poblogrwydd a ffafr pawb, i ddyrchafu y gyfundraeth ddwyfol hon, ynghyd â chymmeriad ei sylfaenwyr, o'r cyflwr iselaf o warad-

wydd, gan barhau i'w glanhau a'u golchi oddiwrth ystaeniadau a fwrid arnynt gan eu gelynion, fel y trinir *diamond*, nes eu cael erbyn hyn yn deg a hardd yn ngolwg miloedd drwy'n gwlad. Nid ein gallu ni a ychwanega un pelydr at yr hyn ydyw y grefydd hon eisoes, ond tystied hyn oll mai oherwydd ein bod yn gwybod cynt mai gwirionedd yw y cymhellwn hi mor daer i sylw ein cydgenedl anwyl. Pa ddyben amgen nâ lles ereill a allasai achosi hyn oll? Nid elw yw ein dyben, onide ni buasem yn ei chymhell i dylodion, ac yn rhad. Nid anrhydedd, onide yr ydym wedi colli y ffordd i hyny hefyd. O nage, ddarllenydd hynaws, nid amgen ein dyben nag a hysbyswn, sef, fel y mwynhao ereill y lles a'r bendithion dwyfol a radroddwyd i ninnau, ac a addewir i bob un a ufyddhao i'r gyfundraeth ddwyfol hon. Paham, ynte, nad yw ein tystiolaeth yn gywir yn eich golwg? Yr hyn a welodd y llygaid hyn, yr hyn a glywodd y clustiau hyn, gan lygaid-dystion, ïe, yr hyn a *wyddom* am eirwiredd yr hanes canlynol, a gymhellir i'ch sylw yn y llyfr hwn. Cymmerwch ef yn garedig a diduedd; darllenwch ef drwyddo yn bwyllog, gan weddio am Ysbryd y gwirionedd i'ch cynorthwyo i'w iawn farnu; ac os na chewch foddlonrwydd o'i wirionedd cyn codi oddiwrtho, ewch ac ufyddhewch yn gywir i'r drefn a ddengys; ac yna, os na phrawf Duw ei eirwiredd i chwi drwy ffeithiau digonol, dywedwch mai twyll yw Mormoniaeth, a chyd-unwn â chwi i'w chyhoeddi felly. Ac o'r ochr arall ynte, y mae y dyn a'i gwrthoda hi a'i phrofion yn ddibrawf yn gwneyd cam â'i enaid ei hun.

Crefwn am gael ein hesgusodi am bob gwallau cyfansoddol neu rammadegol a ddichon fod ynddo; a gweddiwn ar iddo fod yn offerynol i gyfarwyddo pawb a'i darlleno i'r iawn ffordd tua gwynfyd, er eu lles hwy, ac er gogoniant yr Hwn yn unig a deilynga bob mawl. Amen.

④ PROPHWYD Y JUBILI,

NEU

SEREN Y SAINT.

RHIF. 7.] IONAWR, 1847. [PRIS 2*g*.

## ANERCHIAD AT Y CYMRY.

ANWYL GYDWLADWYR,—Wrth anfon yr ail gyfrol o'r PROPHWYD i'ch plith, taer erfyniwn eich sylw difrifolaf arno. Gwnewch degwch â'ch eneidiau eich hunain a'r gwirionedd wrth ei ddarllen, fel y derbynioch y lles a amcanwn i chwi wrth ei gyhoeddi. Gwyddom y cynnwysa lawer o faterion pwysig, sy'n dwyn perthynas agos â phob un o honoch; ac er y dichon amryw o honynt ymddangos yn newydd ac yn anmhoblogaidd ar yr olwg gyntaf, etto byddwch bwyllog, canys yr un yw eich Bibl chwi a minnau. Yn y glorian gywir hon y pwyswn bob egwyddor, ynte.

Gwyddom ein bod (trwy drugaredd ein Duw) yn feddiannol ar drysorau dwyfol a gwerthfawr, pa rai a'ch cyfoethogant chwithau yn dragywyddol. Yr ydym wedi ein hanrhegu â'r *perl* nefol hwnw yr ymchwiliwch chwi am dano, o gapel bwy gilydd, o'r naill enwad i'r llall ar hyd y blynyddoedd—sef *crefydd bur*—egwyddorion y nef—yr efengyl dragywyddol; yr hon sy'n dwyn bywyd ac allygredigaeth i oleuni. Yr ydym yn gwneyd a allom i gyflwyno gwybodaeth o honi i chwithau yn mhob dull a modd a allwn; ac er mor ddaionus yw, y mae miloedd o honoch yn diystyru cynghor Duw yn eich herbyn eich hunain, heb ufyddhau i, na gwrando ar, yr alwedigaeth nefol a phwysig a gynnygir i chwi.

Y mae ugeiniau o honom yn cyhoeddi y newyddion da hyn yn eich plith ers rhai blynyddau bellach, ar ein cost ein hunain, a pha dderbyniad geir? Gallesid dysgwyl yn rhesymol i'r rhai hyny a addefant wirionedd y grefydd gristionogol yn ei sefydliad cyntefig a phur, ac a broffesant y fath fawr sel drosti, ei chofleidio fel trysor y trysorau pan y clywent hi etto yn cael ei phregethu genym ninnau yn ei chyflawnder, wedi ei hail-sefydlu fel cynt, a'i phregethwyr wedi eu hanfon drwy awdurdod dwyfol fel y rhai a ganmolwch gymmaint.

Ond gwyddoch chwi mai hollol groes i hyny y mae. Pa well der-

byniad a ga anfonedig Duw genych chwi yn awr, yn enwedig gan y rhai selog dros draddodiadau y tadau, nag a gaffai y cyffelyb anfonedigion gyda yr un fath genadwri gan eu cyd-oeswyr hwythau? *Rabbies*, dysgawdwyr, a chrefyddwyr mwyaf selog y wlad oedd eu gelynion penaf hwynt; dyma y rhai a bregethent fwyaf o'r pwlpudau i'w herbyn, a adroddent fwyaf o chwedlau disail am eu cymmeriadau, ac a gyhoeddent mai twyll oedd ganddynt, ac mai twyllwr oedd eu blaenor, a hyny heb gynnyg un prawf o ddim ond eu haeriadau. Onid felly yn hollol yr ymddyga y cyfryw atom ninnau! Y croesaw goreu a gaffent gan hudolion y cyfryw oedd gwaeddi gau-brophwydi, gau-athrawon, twyllwyr, &c., ar eu hôl yn yr heolydd. Felly ninnau. Onid oedd awduron eu hoes yn taenu pob camgyhuddiadau disail am danynt hwy, heb gymmeryd y drafferth i chwilio beth oeddent? Felly y gwnant â ninnau. Oni throent hwynt a'r rhai a'u gwrandawent allan o'u synagogau? Onid felly y gwneir â ninnau, a'r rhai gonest eu calon sydd yn chwilio am y gwir. Oni ddywedodd Crist mai felly y gwnaent; ac felly y mae.

Dywedid am danynt hwy, "Y rhai sy'n aflonyddu y byd, y rhai hyny a ddaethant yma hefyd." Felly y clywn ninnau bob lle yr elom. "Beth a ddywed y siaradwr hwn," medd un; "Mae y rhai hyn yn aflonyddu'r ddinas," ebe arall am danynt hwy. Felly ein cyhuddir ninnau. Dygant athrawiaeth newydd i'n plith, yr hon nid yw weddus i ni ei derbyn, meddent am danynt hwy. Y mae y rhai hyn yn pregethu efengyl newydd, yr hon nid yw weddus i ni, sectariaid, ei derbyn, meddant yn awr am danom ninnau. Oni ddywedodd ein Hathraw mai felly y gwnai gau-grefyddwyr â'r gwir? Do; ac y mae ein cyd-oeswyr yn profi ei eiriau ef a'n crefydd ninnau, mor wirioneddol yn yr oes hon â hono. "Y neb a fyddo fyw yn gyfiawn yn Nghrist Iesu, a erlidir," oedd y pryd hyny; felly y teimlwn ninnau yn ddigon gwir; a phe dilynid ni a hwythau yn mhob nodwedd, ac ymddygiad ein cydoesolion atom a'n crefydd, profid fod yr un achos yn dwyn yr un effaith yn gywir yn yr oes hon â hono. Paham nad yw hyn oll yn dystion i chwi, gyfeillion hynaws, o'n tebygolrwydd iddynt hwy? Paham y cyflawnwch chwi fesurau, ac y dilynwch gamrau yr erlidwyr a fu, a'ch llygaid yn agored? Onid oedd eu crefydd hwynt yn anmhoblogaidd pryd hyny? Pa ryfedd fod yr un grefydd mor anmhoblogaidd yn ei hail ddechreuad yn awr? "A gredodd neb o'r penaethiaid," ebe y naill? "O na, ysgubion y byd a sorod pob dim ydynt," ebe y lleill pryd hyny. Felly yn awr. Pregethu i'r tlodion yn rhad yr oeddent hwy. Felly ninnau. Perswadio y bobloedd i beidio eu gwrando yr oedd pregethwyr yr oes hono, eu bod islaw eu sylw hwynt. Felly yn awr, yn gywir. Ofni y

byddai gobaith eu helw yn pallu a gyffröai y rhai hyny. Barnwch chwi ai dyna'r achos paham yr ymesyd marsiandwyr a chrefftwyr crefyddol yr oes hon arnom ni! Yr oedd iechydwriaeth eu cydoeswyr ynglyn ag ufyddhau i'w cenadwri hwy. Felly yn awr, ddarllenydd hynaws, y mae mor sicr fod maddeuant, adgyfodiad, derchafiad, a gogoniant ein cydoeswyr, yn dibynu ar eu hufydd-dod i genadwri *Saint y Dyddiau Diweddaf;* ie, pe dywedai holl bobl y byd yn ddrwg am danynt, ac fod Duw'r nefoedd wedi eu danfon. Ydym, Gymry anwyl, er ein gwaeledd. Tystiom yn ddifrifol a sobr yn ofn Duw, fel y byddom lân oddiwrth waed pawb oll. Yr ydym ni wedi derbyn allweddau goruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd—gweinidogaeth y cymmod, sef goruchwyliaeth yr unfed awr ar ddeg! Mae Arglwydd y cynauaf wedi ein danfon gyda chenadwri i gasglu ei wenith i'w ysgubor, cyn y daw efe i losgi yr us â thân anniffoddadwy. Etto, tystiwn yn eofn nad â eich oes na'ch cenedlaeth chwi heibio, hyd oni phrofa Duw Israel tu hwnt i bob dadl, fod Saint y Dyddiau Diweddaf wedi eu hanfon ganddo i ddarparu ffordd ei ail ddyfodiad, ac y prawf bob iot a phob teitl o'u cenadwri yn wirionedd safadwy. Onid yw y dystiolaeth hon o bwys i chwi, ac yn arogl o fywyd i fywyd, neu o farwolaeth i farwolaeth, i bob un a gaffo y fantais o'i chlywed? Nid yw esgeulusdod gwirfoddol yn un esgusawd i neb. Y pwysfawrogrwydd o honi a'n cymhellodd, ie, a'n gorfoda i fod mor blaen tuag atoch, a gwae ni oni wnawn hyn; anghenrhaid a osodwyd arnom. Atebwch chwi, onid yw tystiolaeth fel hyn yn deilwng o'ch gwrandawiad, a'ch hymchwiliad manwl? Gwir yw, Gymry anwyl; chwiliwch a phrofwch ni yn dêg, dangoswch ein cyfeiliornadau, os gellwch; a byddwn ddiolchgar i chwi. Yr ydym yn atebol i Dduw am yr hyn a ddywedwn; gwyddom hyny hefyd, ac etto carwn a deisyfwn arholiad ar ein crefydd o flaen brawdlys gair digyfnewid y Barnwr cyfiawn hwnw. A brofodd rhyw un yn y wlad un o'n hegwyddorion yn gyfeiliornus yn ol y Bibl? Naddo, ddim un! Gwir i lawer brofi camgyhuddiadau ein gelynion arnom yn wrthun iawn. A pha beth sydd i ni a wnelom â hyny hyd onid ymosodant ar yr hyn a gredwn, nid ar yr hyn a wadwn ni fel hwythau. Hyd oni wnelont hyn, pa reswm ein herlid, ein difenwi, a gwrthod gwrando arnom. Etto, o'n rhan ni, erlider a fynech, a diolchwn ninnau am yr anrhydedd a'r nerth i ddyoddef ar gam er mwyn y gwirioneddau dwyfol hyny y rhoes ein brodyr hynaf a'n Harglwydd hefyd eu bywydau yn ebyrth gwirfoddol drostynt; ac er hyn oll, er eich hargyhoeddi chwi sy'n ceisio crefydd a grym ynddi, a'ch dwyn yn etifeddion sylwedd, tystiwn, a pharhawn i egluro y genadwri a ymddiriedwyd i'n gofal; a ni yn gwybod tra parhawn felly y cawn

roddi i fyny ein cyfrif yn llawen pan y del ein Meistr i'w ogoneddu yn yr holl rai a gredant ac a ufyddhant i'n tystiolaeth. Nid ym heb deimlo ein hannigonolrwydd i'r fath orchwyl â hwn, ond gwyddom fod y breichiau tragywyddol odditanom. Gwyddom hefyd mai yr hwn a draetha wirioneddau mawrion a lliosog i'w gyd-oeswyr, a ennilla iddo ei hun elynion lliosog a chedyrn drwy hyny. Poblogrwydd yr oes yw gelyn cryfaf y gwir, os tòra dros ei geulanau ef: a than yr amgylchiadau presennol, pe meddem ninnau ar glariwn angylaidd—y sel apostolaidd—a'n calonau mor eang â thragywyddoldeb—yn meddu doethineb y nefoedd—cariad Duw yn llosgi yn fflam ennynol yn ein mynwesau, ac wedi ein hanfon i draethu y genadwri oreu a ddygwyd o'r drydedd nef erioed gan Michael yr Archangel; etto, byddai mor anmhosibl i ni gyflwyno gwybodaeth o honi i'r werin yn awr ag oedd i Paul brofi dwyfoldeb eu Messiah croeshoeliedig yn Ephesus, pan foddid ei lais yn nghanol y fonllef fawr hòno, "Mawr yw Diana yr Ephesiaid." Os mynwch brofi cryfder rheffynau traddodiad, dysgwch rhyw wirionedd mawr a dwyfol; ac fe'n siomir ni os nad cyffelyb yw i ymresymu yn nghanol brwydr, pan y rhuo magnelau a drylliau gyda chyflafan y rhyfel, pan at eich fferau mewn gwaed. Llefarwch wrth y corwynt rhuthrol, pan rwyga y goedwig o'u gwraidd—pregethwch wrth ddyn a fo yn ei gwsg, neu dysgwch y meddwyn yn ei feddwdod; yna gwelwch mor anhawdd yw i saethau y gwirionedd dreiddio drwy glustiau, a glynu yn rheswm y dyn a wnelo ei farn i fyny heb ymchwiliad—a goelia un ochr, ac a wrthyd brofi na gwrando ar yr ochr arall;—ac yna coeliwch mor fawr ac anhawdd yw gorchwyl Saint y Dyddiau Diweddaf i gael gan y werin wrando eu cenadwri.

Gymry, pa hyd y bydd hoff genych watwar? pa hyd y trowch glust fyddar at y genadwri bwysig hon o'r nefoedd? Llais eich Barnwr yw, yn cynnyg i chwi iechydwriaeth dymmorol rhag pläau, heintiau, newynau, a barnedigaethau ofnadwy sydd ar ddod; ïe, yn cynnyg i chwi iechydwriaeth dragywyddol hefyd, heb arian ac heb werth. Cofiwch na anfonodd Duw erioed genadwri i'n byd, a'r nad oedd gwaredigaeth dymmorol ac ysbrydol yr oes hòno yn dibynu ar eu hufydd-dod iddi. Cofiwch pa dderbyniad a gafodd Noah! Beth fu y canlyniad o wrthod ei genadwri! Cofiwch Sodom a Gomorrah—dinystr yr Iuddewon, er mor selog oeddynt dros draddodiadau y tadau. Cofiwch hefyd ddywedyd o'n Harglwydd yn eglur yn eich Bibl chwi a ninnau, mai "megys yr oedd yn nyddiau Noah, felly y bydd yn nyfodiad Mab y dyn." Cofiwch ddywedyd hefyd o hyn wrthych, fod Duw wedi danfon Saint y Dyddiau Diweddaf i'ch rhy-

byddio fod yr amser yn agos iddo wneuthur i fyny ei briodoledd, pan y gwelwch ragor rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw, a'r hwn a wasanaetho ddynion. Pan ddel efe ar gymylau y nef, gyda ei angylion nerthol, â fflam dân i ddial ar bawb nad adwaenant Dduw, ac nad ufyddhant i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist, sef yr hon a anfonwyd o'r nef yn y dyddiau diweddaf hyn, yr hon a bregethwn i chwi. Yr hwn sydd ganddo glustiau, gwrandawed ein cenadwri. Y neb sydd ganddo lygaid, darllened ein cyhoeddiadau drosto ei hun. Yn wir, meddwn i chwi, eich llygaid chwi a welant eu bod yn wir; dewiswch einioes a daioni, ynte, fel y byddoch fyw byth mewn gwynfyd a gogoniant.

---

## DAMMEG.

AR *ddydd Nadolig* gwnaeth rhyw *Frenin* wledd briodas i'w *fab*, darparodd *giniaw*, ac amcanodd roddi un o'i *diriogaethau* iddo ar ddiwrnod y briodas. Y *wraig* oedd i fod yn briodferch iddo, ydoedd hardd odiaeth; ei haddurniaduu oeddynt, coron ardderchog a *deuddeg o ddiamonds* wedi eu gosod o'i hamgylch, yr hon a wisgai ar ei phen. Yn ei llaw cariai *deyrnwialen ddysclaer*, oddiar yr hon yr adlewyrchai pelydrau yr haul ar y *diamonds*, nes goleuo ei ffordd o'i blaen ddydd a nos, fel na rodiai un amser yn y tywyllwch, ond yn nysclaerder haul canol dydd. Ei hwynebpryd oedd deg a hawddgar; diweirdeb, diniweidrwydd, a chariad, a welid yn argraffedig ar ei gruddiau prydferth. Ei hoff waith oedd gweini cysur a dedwyddwch i bawb o'i chylch; rhagorai ar holl wragedd y diriogaeth mewn doethineb, ffydd, a'r cyffelyb rinweddau a grasusau. Ond, cenfigenodd *trigolion* y diriogaeth i'w herbyn; cyd-fradwriasant yn ei herbyn hi a'i phriod detholedig, ac o'r diwedd llwyddasant i alltudio y Mab o'u cyffiniau, yr hyn a achosodd fawr dristwch ac hir alar i'r briodferch, hyd oni chysurwyd hi drwy i'r Brenin mawr addaw yr adferai ei Fab yn ol i'w iawnderau. A chan i'r deiliaid bradwrus hyny ddiystyru a gwrthod ei *giniaw*, y darparai efe *super*, y gwahoddai holl drigolion y dalaeth iddo, ac y coronai ei fab yn Frenin dros yr holl diriogaeth;—yr achosai i'r deyrnwialen ddysclaer oedd yn llaw y briodferch, adlewyrchu nes llanw holl deyrnasoedd y diriogaeth â goleuni mawr; yn gymmaint ag mai ei fab hwn yw yr unig etifedd o'r cyfan: a dywedai wrthi y deuai y waith hon holl deyrnasoedd y diriogaeth o dan ei lywodraeth ef.

Cefnogodd yr hysbysiadau gorfoleddus hyn y briodferch, ac ymwrolodd drwy lawer o frwydrau celyd, nes yn mhen amser i Amherawdwr y genedl wrthryfelgar gyfnewid ei ddull o ryfela, a chyhoeddi heddwch cyffredinol. Dysgwyliai, drwy y ddichell hon, lwyddo i ennill meddiant o'r deyrnwialen, oherwydd y dysgwyliai mai hi oedd i lywodraethu yr holl genedloedd; cofleidiodd y wraig yn serchus iawn, nes ei gorchfygu â chyfrwysdra a dichell. Ond ar yr amser pwysig a pheryglus hwn daeth y brenin ei hun yn mlaen i'r fan, ac ond mewn

pryd yn unig, i achub y wraig pan yr oedd ar roddi ei hawdurdod i'r amherawdwr: efe a gymmerth y deyrnwialen o'i llaw, a'i dug i'w amherodraeth ei hun, ac a waredodd y wraig o law yr amherawdwr bradwrus, gan ei chuddio mewn diffaethwch cymmydogaethol, fel yr arbedid ei bywyd. Cynddeiriogodd hyn yr amherawdwr siomedig, ac efe a gyhoeddodd ryfel poeth er dial ar y wraig, udganodd ei fawredd ei hun, hònai iddo gael awdurdod y priodfab gan y wraig, gan roddi pawb i farwolaeth ai ammheuai. Crwydrodd y wraig yn bendrist yn y diffaethwch am lawer o ddyddiau, wedi colli y *diamonds* o'i choron, a'i hyspeilio o'i theyrnwialen, heb oleuni i weled ei ffordd ond pelydrau y lleuad yn tywynu drwy frigau y coed. Galarodd ac wylodd lawer oherwydd ei gweddwdod disymmwth, gan hiraethu am ddychweliad ei phriod alltudiedig. Er hyny, cysurid hi yn y gobaith o'r addewid, ac eisteddai yn unig yn y goedwig gan ddysgwyl yn astud, a gwrando ar ysgydwad y dail a thafod aderyn a glywasai y newyddion hoff, "Wele, mae y priodfab yn dyfod, ewch allan i'w gyfarfod, ymdrwsiwch yn eich gwisg briodas a roddes i chwi; gosodwch eich perlau yn eich coron fel cynt, a gwisgwch yr holl addurniadau priodasol a ddarparodd efe i chwi, fel y cwblhaer y briodas; ac na chai neb o'r rhai a wrthodent ei ail a'i olaf wahoddiad hwn, brofi o'r swper fawr hon." Dysgwyliai i genadydd dirio yn uniongyrchol o amherodraeth y Brenin mawr gyda y newyddion da hyn, yn ol ei addewid, ac yr adferai iddi ei theyrnwialen, ynghyd â'i holl ardderchogrwydd a'u mawredd perthynasol; ac y cyflwynai awdurdod iddi hithau i gyhoeddi yn enw y Brenin mawr, drwy holl daleithiau a theyrnasoedd y diriogaeth, ac i bob llwyth, iaith, a phobl ar hyd ei chyffiniau, gan ddywedyd â llef uchel, "Ofnwch y Brenin mawr, ufyddhewch i'w gyfreithiau, ceisiwch y wisg briodas, a deuwch i mewn i'w swper; canys wele y mae efe ar ddyfod â'i holl fyddinoedd cedyrn gydag ef, i roddi dial ar, ac i lawr ddyfetha holl drigolion gwrthryfelgar y diriogaeth, ac ni arbeda efe neb ond y rhai a fyddant wedi ymgasglu i'r swper. Ac efe a gorona ei unig fab a'i etifedd yn frenin ar yr holl diriogaeth." Yn awr, ddarllenydd, beth yw y ddammeg? Chwilio yn fanwl yr ydwyt ti a ninnau ynddi! Mae ein bywyd tragywyddol yn ymddibynu ar ei hiawn ddeall. Y cyfeiriadau canlynol a'th alluoga i'w dirnad.

---

Y *Brenin* a'i *Fab* yw, y Tad a'i unig-anedig Fab, Iesu Grist.

Y *Wraig*—Eglwys Iesu Grist.

Yr amser y cynnygiwyd y *giniaw* oedd, pan gynnygiodd Crist a'i apostolion iechydwriaeth i'r Iuddewon.

Y *bradwyr* a alltudiodd Fab y Brenin—Yr Iuddewon. "Ni fynwn ni y dyn hwn i deyrnasu arnom."

*Erlidwyr* y Wraig—Eglwys Rhufain.

Yr *amherawdwr* a gofleiddiodd y Wraig—Cystenyn Fawr, pan gyssylltodd yr eglwys â llywodraeth Rhufain.

Y *deyrnwialen ddyselaer*—Yr offeiriadaeth yn ol urdd Mab Duw, a roddwyd i'r eglwys.

*Cymmerwyd hi oddiarni*—yn y flwyddyn 570 O.C., pan y cyhoeddodd y Pab o Rufain ei hun yn ben ar yr eglwys drwy'r byd. (Gwel Dad. xii, 4—6.)

Y *deuddeg diamonds*—Y deuddeg apostolion.

*Daw y Wraig o'r diffeithwch* etto (Dad. xix. 7—9), wedi ymwisgo yn ei holl addurniadau cyntefig.

*Yr amser y coronir y Priodfab*—Mor gynted ag y bydd y wraig yn barod, a'i chyfeillion wedi ymgasglu ynghyd i'r swper.

*Y fan lle mae y Wraig yn awr*—Ar gyfandir yr Amerig, yn galw y gwahoddedigion ynghyd o bedwar cwr y byd, gan anfon ei gweision â llef uchel i alw, "Deuwch i swper neithior yr Oen, canys y wraig a wnaeth ei hun yn barod."

*Y modd ei hadweinir hi yn mhlith holl wragedd y byd*—Wrth ei hoffeiriadaeth, ei deuddeg apostol yn ei harwain; a'i holl swyddwyr a'r cyfan yn ol y cynllun cyntefig, ac yn cael eu harwain drwy ddadguddiadau o'r nef, sef yr unig oleuni a arweiniai eglwys Crist, neu bobl Dduw, yn mhob oes o'r byd.

Y *cenfigenai holl wragedd y byd wrthi.*—Profir hyn drwy ei ffeithiau erlidgar a chreulon, ie, cyduna yr holl wragedd i waeddi "Putain pen heol" ar ol hon.

*Y rhai a wrthodasant y giniaw*—Yr Iuddewon yn gwrthod efengyl Crist a'i apostolion.

Y *rhai a wahoddir i'r swper*—Y cenedloedd, pan droes yr apostolion atynt oddiwrth yr Iuddewon. Act. xiii, 45—49; Rhuf. xi.

*Y giniaw.*—Yr efengyl a gynnygiwyd yn gyntaf i'r Iuddewon, fel y byddai y blaenaf yn olaf; a'r ail waith i'r cenedloedd, y rhai oeddynt olaf, i fod yn flaenaf.

Y *rhai ni chânt brofi o'r swper*—Pawb a wrthodant yr efengyl hono etto, pan yr anfono Duw ei bysgotwyr a'i helwyr i'w casglu ynghyd—pan sefydlo ei eglwys ar y cynllun apostolaidd—pan y cyfyd faner i'r cenedloedd o bell, gan bregethu yr efengyl dragywyddol i bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl, gan ddywedyd â llef uchel, Chwi holl drigolion y ddaear, gwrandewch pan lefaro Duw o'r nefoedd wrthych; canys efe a anfonodd ei angel â'r efengyl dragywyddol i ddyn ar y ddaear, gan ddywedyd, "Ofnwch Dduw, a rhoddwch iddo ogoniant; canys daeth awr ei farn ef; ac addolwch yr hwn a wnaeth nef a daear, y môr, a'r ffynnonau dyfroedd."

Y *cenadydd* oedd i ddyfod â'r deyrnwialen yn ol, yw yr angel hwnw a welodd Ioan yn ehedeg yn nghanol y nef, â'r efengyl dragywyddol ganddo, i'w chyflwyno i'r rhai sydd yn trigo ar y ddaear. Dad. xiv, 6.

Yn awr, y ddammeg sydd wir, a'i deongliad sydd sicr.

---

## EPISTOL ALEXANDER, Y GOF COPR,

### AT EI HOLL GYDGREFFTWYR TRWY GYMRU,

*Yn dangos y ffordd oreu i wrthwynebu "Saint y Dyddiau Diweddaf," ac i amddiffyn ein crefftau ninnau.*

"Barchedig" Foneddigion,—Mae yn hysbys i chwi oll, weithian, am lwyddiant rhyfeddol yr hen Seintiau trwy ein gwlad, a bod y werin yn rhedeg ar eu hol. Rhaid eich bod yn gwybod hefyd mai hwy yw gelynion gwaethaf ein duwies fawr ni yn yr oes a'r wlad hon, fel cynt. A chan fy mod i yn deall cryn lawer am eu castiau, a'm tadau o'm blaen wedi bod yn enwog a llwyddiannus iawn i wneuthur niwed iddynt, er dyddiau yr hen dwyllwr Paul a'i ganlynwyr, fel yr addefa ei hun yn ei ail epistol at ei gyd-heretic, sef Timotheus, pen. iv, 14—"Alexander y gof copr a wnaeth i mi lawer o niwed," ebe efe. A chan fy mod yn ofni iddynt fyned yn rhy liosog i ni allu eu gorchfygu,

os na ddeffrown i'w herbyn ar frys, ac nad oes obaith gweled neb braidd yn dychwelyd yn ol wedi unwaith lyncu eu twyll,—yr ystyriaethau hyn, ynghyd a'm dyled i gadw i fyny goffadwriaeth fy nhadau a'u crefft yn anrhydeddus, a'm cymhellasant i'ch anerch trwy yr epistol hwn. Cofus genych am epistol clodwiw ein hyglod lywydd Demetrius, yr hwn a ysgrifenodd efe o'n eisteddfod yn *Diana Square;* a diau fod yn ofidus genych glywed drwyddo am aflwyddiant yr holl *schemes*, y dichellion, a'r ystorïau a ddyfeisiasom yn erbyn y Seintiau; ac yn wir, foneddigion, nid arnom ni, nid ar ein selog lywydd, na'n cydgrefftwyr, y mae y bai am hyny, canys gwyddoch i ni bregethu yn wrol o'r pwlpudau, a chyhoeddi pob dyfais yn y cyhoeddiadau; ond ni waeth beth a wnawn, llwyddo y maent hwy yn mhob man. Ar y bobloedd y mae y bai yn siwr, canys ni chredant ein ystorïau ni, ond gwrando drostynt eu hunain; a chyn gynted ag y gwnant hyny, ffarwel am danynt; cyn eu gwelwn hwynt drachefn, byddant wedi eu bedyddio ganddynt, ac mor selog dros eu twyll â neb o honynt hwy. Ac yn awr, O frodyr, beth a wnawn iddynt? Nid gwiw i ni draethu yr un o'r hen ddichellion, nac ymladd i'w herbyn â'r hen arfau a lwyddent yn nyddiau ein tadau, canys y mae yr hen Seintiau hyn, trwy ryw ddichell neu gilydd, wedi dyfod i'w hadnabod yn rhy dda i ni allu llwyddo yn hwy. Ac y mae yn ofidus iawn genyf eich hysbysu eu bod, yn eu cyfrwysdra, wedi dod i ddeall ein holl ddichellion dirgelaf! Ydynt, y maent wedi cael gafael ar epistol doniol ein hanfarwol Demetrius hefyd, canys darllenais ef yn ei grynswth yn eu cyhoeddiad misol, sef "*Prophwyd y Jubili*," am *Hydref*, 1846, tudal. 101; ac felly rhwygant y guddlen oddiar lygaid y werin, nes y gwelant ni yn ein lliw priodol! Ow, beth a wnawn? Pa fodd y bu hyn? Trueni na buasech yn fwy dirgelaidd. Rhaid fod rhyw "Achan" yn ein gwersyll, a rhyw fradwr yn ein plith ni, yn siwr. Chwiliwch ef allan, a dygwch ef o flaen ein clodwiw lys ar frys. Clywais fod rhai o'n cewri ni, a'n prif gynghorwyr, wedi dianc atynt yn ddiweddar; a ydyw hyny yn bosibl? Er hyny na ddigalonwch, canys y mae genyf newyddion da i chwi—ffordd newydd, ffordd ragorol, ïe, yr oreu o'r cwbl, i ddyfetha y Seintiau. Llwyddwn yn awr, yn siwr. Ffordd yw a gymmeradwywyd yn fawr yn ein heisteddfod hefyd. (Ac am eich bywyd cadwch hi yn *secret* rhag y Seintiau!) Cynnaliwyd ein Cymmanfa ar y dydd ar ol yr olaf o fis Ahitophel, yn ein prif swyddfa, yn *Copper Street, Diana's Square*, Cardiff. Daeth cryn nifer o'r gwladgarwyr duwinyddol yno ar yr achlysur canmoladwy, i ddyfeisio rhyw gynllun i wrthwynebu y Seintiau. Etholwyd ein prif apostol Demetrius yn llywydd, eich ufydd was yn îs-lywydd, a'n parchedig udgorn, sef tafod ein cloch haiarn o Gaerdyf, yn ysgrifenydd. Wedi amryw ddarlithoedd hyawdl a gwresog, ac annogaethau i fyned yn mlaen yn ein rhyfel nes concro, penderfynwyd yn unfrydol fel y canlyn:—

1af. Penderfynwyd cyfnewid ein dull o ryfela â'r Seintiau o hyn allan, yn hollol; peidio eu herlid mewn un dull, na son am danynt, ond i'w canmol; cyfeillachu â hwynt, ac addef eu bod, o leiaf, yn ogystal â ninnau; a dweyd ein bod ni oll yn myned law yn llaw tua phen y mynydd, ac y cyrhaeddwn ni oll i'r nefoedd, er bod ychydig o wahaniaeth mewn rhai pynciau bach a disylw. Dywedwch yn deg yn

eu gwynebau, canys gwyddoch nad allem eu gwrthsefyll erioed i'w gwynebau, ac yna pa les ysgyrnygu dannedd arnynt? Taer erfyniwn ar bawb sydd mewn undeb â theulu Demetrius, i ymddwyn mor ffals ac unfrydol ag y byddo modd, a rhoddi benthyg capel iddynt yn awr ac eilwaith i bregethu, nes ennill eu hymddiried.

2il. Fod y mwyaf cymmeradwy, un o bob crefft, i ffurfio *committee*, megys ein cadfridog o Ddowlais. ein *corporal* o Abercanaid, ein *drum major* o Gaerdyf, a'n *whipper-in* o Ferthyr, &c. Eu bod i ddwyn *petition* gerbron pwyllgor yr "Undeb Efengylaidd," yn eu *cymmysgfa* nesaf, yn dymuno i'r Seintiau gael dyfod i'r undeb fel ereill (ond er pob daioni cadwch y gyfrinach hon); a dymunir ar bawb o honoch *signio* y *petition* yn ddibetrusder, a gweddio am ei lwyddiant, canys sicr yw fod llwyddiant ein crefftau ni yn dibynu ar eu dwyn hwy i'r cwlwm hwn. Nac ynganwch air yn erbyn eu doniau gwyrthiol, na dim arall, canys ni roddant y rhai hyny i fyny er dyfod i'n teulu lliosog ni. Ond wedi y caffom hwynt unwaith i mewn i'r teulu Demetrisol, gwnawn ni o'r goreu â'r pethau hyny. Ust! byddwch gall fel y seirff yn awr. Os ydynt yn mwynhau y pethau hyny yn awr, diflanant yn y fan y cylymir y cwlwm hwn rhyngom. Yn mlaen â hi, fechgyn anwyl. Onid ydych yn cofio mai fel hyn yr achosodd fy nhadau gynt i'r doniau ysbrydol, a'r gallu Duw hyny ag oedd yn gwenwyno ein crefftau ni, i ddiflanu o'r eglwys apostolaidd? Llwyddo a wnaent hwythau po poethaf yr erlidigaeth; ond yn y fan ag y perswadiasant Cystenyn Fawr i gymmeryd ffrwyn eu heglwys, a'i huno gyda'r wladwriaeth, dylifodd y mawrion, y cyfoethogion, a'r cyfan i mewn, ac a droisant y gwael seintiau tylodion o'u swyddi, gan gyfnewid yr ordinhadau yn raddol, a cholli pob cymdeithas ag Ysbryd Duw, nes hollol gydymffurfio â'n crefftau ni; a rhyfedd mor gywrain y bu ein tadau i gau y bwlch mawr i fyny, rhag i'r bobl weled y diffyg o'r doniau ysbrydol wedi hyny, drwy haeru "nad oedd eu heisieu yn hwy." Dyna ddyfais bert, ac y mae y gair yna yn parhau hyd heddyw, a neb ond yr hen seintiau hyn yn meiddio dweyd yn amgen; ond ust! peidiwch ag ymollwng i nwydau, onide bydd y gath o'n ffetan etto.

3ydd. Penderfynwyd anfon epistol at ein hanwyl frawd Havard, i'w rybyddio i beidio myned â'r *petition* hwnw ddim yn ychwaneg o dy bwy gilydd ar hyd heolydd Lacharn, i brofi mai y Seintiau yw y "gau-brophwydi" hyny ag y sonia yr ysgrythyr sydd i ddyfod yn y dyddiau diweddaf, na cheisio gan y bobl *signio* i beidio eu gwrando pan y deuant yno. Mae yn hoff genym weled ein brodyr Calfinaidd yn dethol o'u cysgadrwydd i'r gwaith da hwn; canys yn wir y maent hwy ar ol yn hyn rhagor ereill, er nad mor ddifater â'r Wesleyaid ychwaith i'n helpu yn erbyn y cedyrn hyn, oherwydd y maent hwy, fel eu tad Wesley gynt, yn rhy lariaidd a diniwed i erlid neb, boed a fyddo. Barnai rhai o fawrion y gymmanfa fod *petition* y brawd Havard yn ddyfais ragorol, ac yn deilwng o efelychiad, ac yntau yn haeddu canmoliaeth am ei sel a'i ffyddlondeb; ond nid gwaeth beth, hollol groes oedd yr effaith a gafodd ar y werin wed'yn, fel pob ddyfais flaenorol; ni foddlonid y bobl heb eu clywed eu hunain. Bu cryn bledio hefyd ynghylch pwy yw yr Havard hwn. Mynai rhai mai yr hwn y bu ei fam yn cadw hen "Ffynnon Elian" oedd efe! ereill ni wyddent; ond

cydunwyd i'w rybyddio ef a phawb ereill i beidio gwneyd dim o'r fath beth hyd oni welem effaith ein *petition* ni yn y Cynghrair Efengylaidd. Condemniwyd ymosodiad y Drysorfa Fethodistaidd ar y Seintiau hefyd. Mor ffol yw, yn eu cyhuddo o "broffesu perffeithrwydd personau!" Gwyr pob crwt a wyr rywbeth am y Seintiau, mai camgyhuddiad hollol yw hyny arnynt; ac yna, pa les i'n hachos yw bod mor ffol â haeru celwyddau mor amlwg yn eu herbyn? Dyna fel y mae y werin yn canfod ein gwendid, ac yn ein gadael. Byddwch gyfrwys, byddwch galonog a dewr, a chawn bregethu yn angladd y Seintiau cyn hir, dwyn llonyddwch trwy'n gwlad, a llwyddiant ar ein crefftau fel cynt; ac Ysbryd Duw ein tadau selog a fyddo o'n plaid yn erbyn y bobl aflonydd hyn sy'n ceisio troi y byd y tu arall i fyny, a dwyn gwarth a moelni ar ein duwies fawr, yw'm gweddi, Amen.

Ydwyf, eich selog gyd-grefftwr,

ALEXANDER IEU., Y GOF COPR.

*Prif Athrofa, congl Copper Silver Street, ger*
*Diana Square, Caerdyf Fawr.*

---

## SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF *VERSUS* SECTARIAID.

MYNYCH y gofynir i ni, "Beth yw y gwahaniaeth sydd rhyngoch chwi a'r sectau ereill yn Nghymru?" Atebwn mewn gair, mai yr un faint yn gywir ag sydd rhwng y sectau a'r ysgrythyrau santaidd! Ond i fod yn blaenach etto, sylwn, fod yn waith rhy fawr i ni allu cael lle nac amser i ddangos beth yw y gwahaniaeth rhwng y sectau a'u gilydd; o ganlyniad, y ffordd rwyddaf i ddangos y gwahaniaeth yw hysbysu beth a gredwn ni yn egwyddorion cyntaf yr efengyl, a gadael i'r darllenydd eu cymharu â chredoau y sectau, a ffurfio ei farn wed'yn pa rai a ddaliant eu pwysau yn nghlorianau y gwirionedd.

Credwn fod efengyl ein Harglwydd Iesu Grist yn "allu Duw er iachawdwriaeth," ac yn dylanwadu ar y meddwl dynol yn awr, fel y gwnai er's deunaw cant o flynyddau yn ol. Fod yn anhebgorol cael hawl neu awdurdod, ac anfoniad dwyfol oddiwrth Dduw, a hyny trwy ryw gyfrwng gwell na phapyr ac inc, er pregethu "gair y bywyd," ac i iawn weinyddu ordinhadau yr efengyl (megys yr oedd gan yr apostolion), cyn y gallwn fod yn gadwedig, neu ddyfod yn aelodau yn eglwys Iesu Grist, "yr hon yw colofn a sylfaen y gwirionedd," trwy yr hwn y'n perffeithir, y'n santeiddir, y'n darperir i etifeddu cyflawnder bendithion y nefoedd, rhan yn y mabwysiad, sef prynedigaeth y corff, a chael teyrnasu gyda'n Iesu bendigedig ar y ddaear adferedig, pan ddel yn Frenin breninoedd, a'i osgordd angylaidd gydag ef, ac wedi hyny y cawn fod yn wastadol gyda'r Arglwydd.

Yr hyn y methwn yn llwyr ei gredu, ïe, er ei haeru gan holl sectau y byd, ydyw, fod yn bosibl i ni gael yr efengyl yn ei phurdeb a'i gallu achubol gan neb, oddieithr eu bod wedi eu hawdurdodi gan Dduw, sef wedi derbyn gweinidogaeth y cymmod, sef goruchwyliaeth iddynt eu hunain oddiwrth Dduw, megys ag y cafodd Aaron; a chredwn y rhaid iddynt gael eu hanfon dros, ac yn enw neu awdurdod Iesu Grist, yr hon awdurdod a ystyrir yn yr ysgrythyrau yn offeiriadaeth. Dig-

iwch neu beidiwch; ni ddichon i ni gredu hyn er treio yn galed, a hyny oherwydd na chynnygia y gosodiad yna yr un gronyn o reswm nac ysgrythyr yn sail i'n ffydd i weithredu; a rhaid i ni addef ein bod yn rhy bendew i gredu un peth yn y byd hwn, na'r byd nesaf ato, heb sail ddigonol i'n ffydd hongian wrthi; a'r sail ofynol yw tystiolaeth eirwir gan y rhai a wyddant y peth; ac os na bydd y dystiolaeth hòno yn rhesymol ac yn ysgrythyrol, ni ddichon fod yn wirioneddol, ac yna esgusodwch y Seintiau oherwydd eu hanallu i'w chredu.

Ond, credwn yn hawdd fod y gyffelyb elyniaeth yn nghalonau yr hil ddynol yn awr, yn erbyn Duw a'i efengyl, ag oedd yn amser Iesu Grist, a bod syniad y cnawd mor elyniaethus yn erbyn trefn Duw yn awr â phan y dywedodd yr apostol hyny. Credwn hefyd fod mor angenrheidïol i Dduw Dad, Iesu Grist, ynghyd â'r Ysbryd Glân, weithredu yn awr er iachawdwriaeth dynion, ag oedd iddynt yn nyddiau Pedr, Paul, ac ereill; ac o ganlyniad, fod dyledswydd dyn yn gyffelyb yn awr, fod eisieu y cyffelyb ymdrechiadau, ufydd-dod i'r unrhyw drefn, a ffyddlondeb yn rhodio ynddi, yn ein dyddiau ni, cyn y dichon i ni gyrhaedd yr un "gamp" trwy redeg yr un "yrfa." Gan ein bod yn credu hyn, yr ydym yn gwahaniaethu oddiwrth y rhai sydd yn myned oddiamgylch i ddysgu. am orchymynion, draddodiadau dynion, yn proffesu "rhith duwioldeb, ac yn gwadu ei grym hi;" ac o gariad atynt, er ceisio eu hargyhoeddi, dywedwn fel Ioan gynt, "O daw neb atoch heb ddwyn dysgeidiaeth Crist, nid yw y Tad na'r Mab ganddo," &c.; neu fel y dywed Paul, "Pe bacm ni, ïe, pe bai angel o'r nef yn efengylu amgen nâ'r hyn a efengylasom i chwi, bydded anathema;" ac oherwydd hyn digia y sectariaid yn fawr wrthym, a thrwy lawer o esgusion ânt wysg eu hochrau mor belled ag y gallant oddiwrthym, ac yna gwaeddant, "O gwelwch, y mae gwahaniaeth mawr rhyngom ni a'r Seintiau." Fel yna yn union y dywedai sectariaid y ganrif gyntaf yn erbyn yr un grefydd. Ond os daw un atom gan bregethu yr efengyl bur, yr hon sy'n allu Duw, cynnygia hi yn ei gallu cyntefig, gan addaw (os gwyr ei fod yn was i Dduw) addewid i'w wrandawwyr o "*ddawn yr Ysbryd Glân,*" yn awr fel cynt, ar yr ammodau canlynol:—

1. Ffydd yn Iesu Grist, a'i air dadguddiedig, ei fod ef yn Fab Duw, ac yn ddigonol Waredwr i hechaduriaid. Nid yw yn waith dim hwy i gredu yn Nghrist nag y clywir tystiolaeth ddigonol am dano; ac yna, beth sydd yn lluddias i gredu gair un mor eirwir ag ef, pan y credir gair dynion anwireddus yn aml? Peth hawdd iawn yw credu yn Nghrist, a pheth rhesymol hefyd, ond nid mwy felly nag yw ufyddhau i'w orchymynion wedi credu ei eirwiredd, a'r pwys o honynt—wedi credu fod Crist yn Waredwr, a thithau yn bechadur; yna, fel pechadur hawdd yw edifarhau am dy bechodau yn erbyn dy Waredwr trugarog, h. y. penderfynu rhyngot â Duw, yn enw dy Waredwr, i fod yn ddeiliad o'i lywodraeth o hyn allan: gwaith llai nâ phum mynyd yw hyn hefyd. Yna y peth nesaf yw cyflawni yr addewid neu y llw hwnw, a'r cam cyntaf tua'r dwfr yw'r cyntaf i hyny, heb yr hwn mae yn anmhosibl ei gyflawni, a dyfod i rwymyn y cyfammod yn effeithiol a addewaist ar air. "Bedyddier di, a golch ymaith dy bechodau." Ac un peth etto am y tro hwn, dywedaf wrthyt, os cywir dy ddyben,

trwy arddodiad dwylaw gweision y Duw byw ti a dderbyni *ddawn yr Ysbryd Glân* gan Dduw megys cynt, yr hwn fydd yn nerthol weithio ynot a thrwyot, i'th santeiddio a'th dywys yn nghanol y goleuni; a chyfrana i ti ddoniau nefolaidd yn ei amser ei hun, a hyny mor gynted ag y'th lesânt, megys *ysbryd y brophwydoliaeth, tafodau, cyfieithiad, dawn iachâu, gwahaniaeth ysbrydoedd, gweledigaethau,* neu ryw ddoniau ereill, canys *Efe* sy'n "cyfranu i bob un [ar yr ammodau hyn] o'r neilldu, megys y mae efe yn ewyllysio;" ïe, efe a wyr oreu.

Yn awr, ddarllenydd, gweli gryn wahaniaeth rhyngom ni â'r sectariaid eisoes, ïe, fwy nag a feddylia nemawr un; ond atolwg, pa wahaniaeth a weli rhwng hyn a'r ysgrythyr? Os oes, dymunem wybod beth ydyw. Os nad oes, dewis fywyd a daioni. Os ammheui ai gwir yw chwedlau y wlad i'n herbyn, dyred a gwel: *y mae croesaw i bawb;* ïe, prawf ni yn onest ac yn drwyadl, ac os gelli gael twyll, dangosa ef i minnau, er mwyn fy enaid, a gadawaf ef yn y fan. *Dyred a gwel, ynte, cyn y bydd yn rhy ddiweddar!!*

---

## CYMMANFA MERTHYR-TYDFIL.

Ar y dydd Sul a'r dydd Llun cyntaf yn Ionawr, cynnaliwyd Cymmanfa gan y Saint yn Neuadd y Cymreigyddion, yn y dref uchod. Dechreuodd y cyfarfod cyntaf am hanner awr wedi deg, drwy ganu mawl a gweddio fel arferol. Yna anerchodd Capt. D. Jones y gwrandawwyr yn wresog ar yr achlysur, ac agorodd y gymmanfa drwy gynnyg fod y brawd John Taylor (un o'r apostolion a ddaethant drosodd o'r Amerig yn ddiweddar) i fod yn llywydd. Dywedai fod yn llawenydd mawr iddo gael yr anrhydedd i'w gwneuthur yn gydnabyddus â Mr. Taylor, yn Nghymru am y tro cyntaf iddo ef nag un apostol arall ymweled â'n gwlad—fod ei feddyliau dan yr achlysur presennol, yn cael eu trosglwyddo dros eigion y Môr Werydd i eithafion y gorllewinol dir lle y bu yn cyd-lafurio â Mr. Taylor am flynyddau yn y gwaith hwn—at yr erlidigaethau, ynghyd â'r pleser a'r bendithion a gyd-dderbyniasant yno; ddarfod iddo gael yr anrhydedd o fod yn gyd-garcharor ag ef oherwydd efengyl Iesu Grist ac am dystiolaeth yr Iesu, yr hon a gyd-bregethasant o'r carchar i filoedd o'u herlidwyr; ac nad oedd neppell oddiwrtho pan y saethwyd pedair o fwledi i'w gorff. Rhedai ei feddwl a'i awydd yn gyflym pryd hyny tua gwlad ei henafiaid, gan feddwl am yr amser y caffai weled ei frodyr a'i chwiorydd unwaed wedi ufyddhau i'r efengyl dragywyddol hon, ac mewn cymmanfa yn mhlith mynyddoedd Cymru, yn cydlawenhau dan arweiniad Ysbryd Duw, a'i fod heddyw wedi cael mwy nâ'i ddysgwyliad drwy bresennoldeb ein brawd hwn. Cyd-lawenhäai â'r gwrandawwyr, oherwydd dyfod y dedwydd ddydd hwn eisoes i'w meddiant, a dysgwyliai i bawb gyd-weddio am i bresennoldeb ein Duw fod gyda ni drwy y gymmanfa. Cymmeradwywyd y cynnygiad yn unfrydol.

Yna cymmerodd Mr. Taylor y gadair, ac a anerchodd y gymmanfa yn fyr a chynnwysfawr. Yr oedd yn llawenydd ganddo gyfarfod â chynnifer o frodyr a chwiorydd yn yr Arglwydd mewn gwlad estronol,

ac er nad oeddynt yr un iaith, eu bod dan arweiniad yr un Ysbryd, yn rhwymyn yr un cyfammod tragywyddol, ac yn cyd-deithio ein gyrfa ysbrydol tua'r un baradwys orllewinol, lle y caem oll ddeall ein gilydd yn well, pryd yr adferid gwefus bur i bawb, y caem yn ol ein ffydd-londeb oll gyd-gwrdd yn Seion, oddeutu bwrdd ein Duw, i ganu cân Moses a pheraidd gân yr Oen dros fil o flwyddi, heb ofid, poen na gwae. Taer erfyniai ar Dduw y Saint fendithio ei blant yn Nghymru hefyd ag ychwaneg o'i Ysbryd i'w cadw yn undeb y ffydd, cariad, a llawenydd;—fod ei galon yn llawn o fendithion, ac y bendithia bob dyn gonest ei galon. Wedi hyny cynnygiodd fod i'r brawd Jones gario yn mlaen faterion y gymmanfa yn Gymraeg, yr hyn a wnaed fel y canlyn:—

Cynnadledd Sir Forganwg—Rhif y cangenau, 30; henuriaid, 28; offeiriaid, 50; dysgawdwyr, 25; diaconiaid, 19; bedyddiwyd er y gymmanfa ddiweddaf, yr hon a fu yma Gorph. 12, 287; aelodau oll, 841. Cynnadledd Mynwy—Cangenau, 8; henuriaid, 6; offeiriaid, 11; dysgawdwyr, 10; diaconiaid, 3; bedyddiwyd er y gymmanfa flaen-orol, 54; yr holl aelodau, 138. Cyfan-rif y ddwy gynnadledd hyn yw —Cangenau, 38; henuriaid, 34; offeiriaid, 61; dysgawdwyr, 35; diaconiaid, 22; bedyddiwyd yn y pum mis diweddaf, 341; yr aelodau, 979. Galwyd y personau canlynol yn henuriaid:—Daniel Evans, Hirwaun; William Jenkins, Caerdyf; William Hughes, Merthyr; Samuel Evans, Clwydfagwr; Thomas Hughes, Machynlleth; William Clark, Harlech; David Roberts, Ffestiniog; Richard Griffiths, Rhos-llanerchrugog; William Evans, Dycwyd; Samuel Morris, Merthyr; Joseph Davies, Aberdâr. Galwyd hefyd 15 o offeiriaid, 17 o ddysg-awdwyr, a phump o ddiaconiaid; a diweddodd y llywydd y cwrdd boreuol drwy weddi.

Yn y cwrdd prydnawnol, gweinyddwyd y swper santaidd i dyrfa fawr; wedi hyny canodd y brawd Taylor, a'r brawd Webb o Bristau, ganiadau a gyfansoddasant o fawl i Dduw ar yr achlysur. Yna anerch-odd y llywydd y Saint yn wresog mewn cyssylltiad â'u breintiau mawrion, a'u dyledswyddau i fyw yn fwy addas, difrycheulyd, a duw-iol, nâ phawb ereill, a bod yn wyliadwrus na thristâent lân Ysbryd Duw, ond ei feithrin drwy weddi a ffyddlondeb yn yr ymarferiad â'r modd-ion apwyntiedig, ac yn cadw holl orchymynion Iesu Grist—fod yn ofalus i feithrin cariad brawdol yn undeb y ffydd, &c. Eglurhaodd ddybenion, y pwysfawrogrwydd, a'r defnyddioldeb o'r ordinhad sant-aidd hon yn rhagorol; a therfynodd y cwrdd drwy weddio ar Dduw i fendithio ei Saint, &c.

Yn yr hwyr, pregethodd Mr. Taylor yr efengyl yn ei sel a'i briod-ddull gwresog ac eglur, gan ddwyn allan drysorau newydd a hen i'r dorf, ar ba rai yr ymborthent (ond barnu wrth eu golwg siriol, a'u gwrandawiad astud) gyda blas ac awydd mawr. Dilynwyd ef gan Capt. Jones, gydag araeth fer, wresog, a chymhwysiadol i'r achlysur, a gwahoddiadau taer ac effeithiol ar y gwrandawwyr ddyfod i mewn i deyrnas Dduw (y rhai nad oeddynt etto wedi ufyddhau i'r efengyl), fel y caffent ysbryd y mabwysiad i'w tywys i bob gwirionedd, i dystio iddynt eirwiredd ein galwedigaeth nefol, fel y caffent eu santeiddio a'u darparu i etifeddu gogoniant y Saint yn y goleuni, &c.

Dydd Llun, cynnaliwyd tri chwrdd, yn y rhai y dangoswyd godidogrwydd a phwysfawrogrwydd y gwahanol swyddau eglwysig, dyledswyddau y swyddogion a'r Saint, ynghyd â'u breintiau, a'r gobaith a osodwyd o'u blaen. Ordeiniwyd llawer o'r swyddogion a alwyd (ag oedd yn bresennol), gan y llywydd a'r brawd Jones, yn Saesonaeg ac yn Gymraeg.

Yn yr hwyr, ffarweliodd y llywydd â'r dorf liosog drwy araeth fer a chynnwysfawr, yr hon a lynai yn nghalonau y Saint yn ddiau. Gadawodd ei fendith gyda hwynt, gan ddysgwyl etto gael eu cwrdd yn Seion, wedi dyfod allan o'r cystudd mawr, a'u gynau wedi eu cànu yn ngwaed yr Oen. Dywedai, y buasai yn dda ganddo allu aros yn hwy gyda hwy, ond ei fod ar frys mawr i alw gyda chynnadleddoedd ereill yn Lloegr, &c.; ddarfod iddo ddyfod tua saith mil o filltiroedd yn ddiweddar, i ymweled â'r Saint; ei fod wedi gadael ei deulu yn mhlith y Saint a alltudiwyd o Nauvoo, yn nghanol yr anialwch gorllewinol, gannoedd o filltiroedd oddiwrth bobl wynion; fod anwariaid y goedwig yn ymddwyn yn fwy caruaidd a christionogol tuag atynt o lawer nâ'r Cristionogion proffesedig [!!] a'i fod ar fedr hwylio o Loegr yn mhen ychydig ddyddiau tua'r Amerig, i ymuno â'i deulu a'r Saint erbyn cychwyniad eu gwersyll yn mlaen tua California. Da ganddo weled cynnifer o'r Cymry wedi ufyddhau i, ac yn llawen fwynhau breintiau a doniau cyflawnder yr efengyl dragwyddol; a dysgwyliai y del miloedd o'r rhai gonest o egwyddor i mewn i eglwys Crist etto ar fyrder yn y wlad hon, &c. Hawdd oedd canfod y cariad a fagodd yn nghalonau y Saint tuag ato, a'r lles a dderbyniasant, trwy eu sirioldeb, a'r croesaw a gafodd gan bawb. Bendithiodd hwynt drachefn, ac aeth ymaith gyda'r *railroad train* i Gaerdyf.

Fel hyn y terfynodd y gymmanfa liosocaf, felysaf, anrhydeddusaf, a mwyaf adeiladol i'r Saint, ag a gawsom erioed yn Nghymru; a meddyliwn oddiwrth y lluoedd o'r byd a ddaethant yno, eu gwrandawiad astud, eu sirioldeb, a'u boneddigeiddrwydd drwy y cyfan, eu bod yn cael goleuni a llawenydd mawr, ac o barodrwydd yr addefai hen erlidwyr fod yn edifar ganddynt iddynt gredu camgyhuddiadau pregethwyr ac awduron cyhyd; eu bod yn gweled yn awr mai anwireddau dynion drwg oedd y cyfan, ac addefant fod Duw yn ein plith yn ddiau, a dywedodd aml un y byddai yntau yn ein plith ar fyr! A sicr mai felly y dywedai pob un sydd o egwyddor yn caru ac yn ewyllysio cael y gwir o bob plaid, a diblaid, pe deuent i wrando eu hunain, yn lle credu camdystiolaethau ein herlidwyr; a'r Arglwydd grasol, yr hwn a bia y gwaith, a baro mai felly y bo, er eu lles hwy, a gogoniant ei enw. Amen.

WILLIAM DAVIES,
EDWARD EDWARDS, } *Ysgrifenwyr.*

D.S. Rhy faith fyddai rhoddi adroddiad o bregethau rhagorol y brawd Taylor yn y fan hon, er mor ddymunol fyddai gan y Saint eu cael. Gwyddom eu bod, dan fendith Duw, wedi gwneyd lles, a chyflwyno gwybodaeth fawr i'r rhai a'u clywsant, oherwydd y mae y ffrwyth yn dechreu blaendarddu eisoes; ei na fedyddiwyd dim ond naw yn y ddau ddydd canlynol yn Merthyr, clywn fod amryw wedi ufyddhau i'r efengyl eisoes, ac nad yw y naw hyn a dderbyniwyd i'r cwrdd

eglwysig cyntaf ar ol y Gymmanfa ond blaenffrwyth o gynauaf toreithiog o eneidiau gwerthfawr sydd ar ddyfod i deyrnas Dduw. Gobeithio y darllena y prophwydi hyny a brophwydant o gapel bwy gilydd am farwolaeth Mormoniaeth, rhai yn mhen chwech mis, ereill cyn pen y flwyddyn, &c., yr hanesion hyn, ac y gofynant iddynt eu hunain, pwy sect yn eu plith a gynnyddodd yn debyg yn yr un amser! Bydded iddynt hwy, a'r pregethwyr a'r awduron sy'n pregethu pregethau angladdol Mormoniaeth, bwyllo ychydig nes bo wedi marw, canys nid yw hi yn glaf hyd yn hyn, na thebygolrwydd o hyny ychwaith! Ai tybied na addefant bellach mai hwy yw "gau-brophwydi y dyddiau diweddaf?" Ond nid yw waeth pa un, "wrth eu ffrwythau yr adwaenir hwynt" bellach. Gwaith ofer iddynt waeddi *gau-brophwydi* ar y Saint, er ceisio dallu y werin, pan y mae eu prophwydoliaethau hwy eu hunain yn profi mor eglur ag y dywedodd Nathan wrth Dafydd, "*Ti yw y gwr.*" Ond yn mlaen â chwi, druain; chwydweh allan eich dymuniadau, a drygioni eich calonau, trwy brophwydoliaethau; awn ninnau yn mlaen, dan bregethu yr efengyl, i achub eneidiau, nes, trwy nerth ein Duw, y llenwir ein gwlad â gwybodaeth o Dduw trwy "Formoniaeth," ac y caiff eich holl hudolion ei chlywed, a'u rhyddhau o'u caethiwed blin i ryddid gogoniant plant Duw; y dryllir eu llyffetheiriau, y teflir i lawr eu beichiau trymion, a'r ardrethiadau mawrion a'u gorlwytha, er cynnal duwies fawr sectyddol yr oes. Buan yr alltudio gwawl y Jubili eu henw a'u hoffeiriadaeth o'n gwlad.

---

## AMRYWIAETHAU.

---

Y PLA.—Mae papyrau newyddion Lloegr yn ein hysbysu fod y pla a elwir y *Cholera Morbus* yn nesâu yn gyflym iawn tuag Ewrob, ac ofnwn y bydd y canlyniadau yn enbyd.

### CYSUR Y SAINT.

MAWRYGWN ein breintiau, O frodyr cytun;
A chanwn ganiadau yn llawen bob un:
Mae'n hyfryd i deithio mewn undeb a hedd
Ar hyd yr anialwch i Seion a'i gwledd.

Er cymmaint y croesau sydd i ni yn awr,
O na ddigalonwn—mae'r wobr yn fawr;
Cyfodwn ein penau, ymwared sydd draw—
Ein gyrfa ddiweddir mewn hedd maes o law.

Tywyllir yr haulwen, y lleuad, a'r sêr,—
Ysgydwir holl nerthoedd y nefoedd, gan Nêr;
Ond hyn fydd yn arwydd i'r ffyddlon trwy'r byd,
Mai buan daw'r Arglwydd i'w casglu ynghyd.

Mor hoff ydyw meddwl am fyw yn ddiboen,
Mewn gwlad heb ddim blinder, yn ngwyddfod yr Oen:
Mae'r *meddwl* yn hyfryd, ond gwell yw'r *mwynhad*;
Mil gwell ydyw'r *meddiant*, nâ'r *sôn* am y wlad.

Os cymmaint yw'r gwynfyd, beth ddylem ni fod?
Ai diwyd ai diog, i gyrhaedd y nod?
Ymdrechwn yn wrol—mae Duw yn rhoi nerth—
Os ffyddlon ymdrechwn, try'r ymdrech yn werth. J. D.

RHYFEL YN NAUVOO ETTO.—Hysbysir ni drwy effeithiau ychwanegol, a mwy galarus fyth, o gynddaredd ddigyffelyb, ac o greulondeb annynol y terfysglu a drigant yn nghymmydogaethau y ddinas hon. Yr oedd y Saint oll o'r bron wedi ymadael â Nauvoo cyn dechreu y terfysg hwn, ac Americaniaid o'r gwahanol daleithiau wedi prynu eu meddiannau, er am eu pris eu hunain, ac yn eu cyfanneddu, a'r ychydig weddill o'r hen drigolion (sef y Saint) ar ymadael. Ond gwelir fod yr elyniaeth yn parhau, a'r gwrthwynebiad yn cynnyddu fwy fwy yn erbyn y trigolion diweddaraf, a hyny oherwydd fod y *mobs* yn colli eu hamcan, yn colli y wobr a ddysgwylient o'r dechreu, sef cael yr etifeddiaethau teg hyny drwy drais, a'u meddiannu eu hunain. Y mae llythyr oddiwrth ein cyfaill Joseph A. Stratton, o St. Louis, yn ein hysbysu mai trwy etholiad rhyw ddyn o'r enw Carlin i'r swydd o heddgeidwad, y dechreuodd y rhyfel hwn. Aeth yr heddgeidwad hwn, ynghyd â nifer fawr o derfysglu, i Nauvoo, dan yr esgus o ymofyn am un Pricket yn garcharor, ond eu hamcan oedd ysbeilio a dystrywio y ddinas. Yn mhen ychydig ddyddiau yr oedd Carlin wedi casglu tua 700 o wyr arfog yn Carthage, a rhoddodd hwynt dan lywyddiaeth y Milwriaid Singtelon, Chittendon, ac ereill. O'r diwedd, wedi llawer o ffwdan, danfonwyd at drigolion Nauvoo, i'w hysbysu fod yn well iddynt roi i fyny i'r terfysgwyr, eu bod hwy yn rhy gryf iddynt: neu os oeddynt am ymladd, y buasid yn gosod dyn i'w harwain. Daeth y terfysglu yn nes, a gwersyllasant o fewn tri chwarter milltir i'r fan lle arosai amddiffynwyr y ddinas, ac wedi saethu rhyw nifer o beleni heb nemawr effaith, ciliodd y terfysgwyr yn ol. Yr oedd y terfysgwyr oddeutu 800 yn awr, ond plaid Nauvoo oddeutu 300 heb fawr o arfau. Y dydd canlynol bu brwydr arall, a gorfuwyd y terfysglu i ffoi, gan adael pymtheg o'u nifer yn gelaneddau ar y maes, ac yn eu plith Cadben Smith. Ni chlwyfwyd ond un o bobl Nauvoo. Parhawyd i ymladd y ddau ddydd canlynol hefyd, ond yr un rhai oedd yn gorthrechu. Ond y pummed dydd tiriodd nifer o wyr arfog i'r lle, i benderfynu rhyngddynt heb dywallt gwaed yn rhagor; a deuwyd i'r penderfyniad—fod i'r holl Saint a thrigolion Nauvoo roddi eu harfau i'r terfysgwyr, a dianc o'r dalaeth cyn pen pum diwrnod? Ac felly y bu; gorfu ar y Saint, druain, ymadael yn hollol, a gadael llawer o'u meddiannau ar ol.

YR ARWYDDION YN CANLYN Y BEDYDDWYR!—Ychydig ddyddiau yn ol, clywid un Mr. W——, gweinidog parchus gyda'r Bedyddwyr, nid can milltir o Llanybydder, yn tystiolaethu yn ngwydd amryw fod yr arwyddion a sonir am danynt yn y commissiwn, yn canlyn yn ei eglwys ef. Dywedai eu bod yn bwrw allan gythreuliaid, trwy fod dynion drwg yn dyfod yn ddynion da; yn llefaru â thafodau newyddion, trwy fod llawer ag oeddynt yn annuwiol yn dyfod i weddio; ac yn iachâu y cleifion, trwy ei fod ef ei hun yn gosod ei ddwylaw ar benau ei blant pan fyddont yn cwyno, yr hyn a'u dwg i'w lle yn union!!!

PABYDDIAETH.—Nid oes wythnos yn myned heibio nad ydym yn clywed am rai o offeiriaid Eglwys Loegr yn troi drosodd at yr hen fam; ac nid yn llai aml y gwelir pregethwyr ieuainc yr enwadau ymneillduol yn troi at Eglwys Loegr. Y mae hyn, ynghyd â lliaws o bethau ereill, yn ein harwain i feddwl fod yr amser hyny yn agos, pryd na chaniateir i neb brynu a gwerthu heb nôd y bwystfil yn eu talcenau.

---

CYNNWYSIAD.




MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

JOHN JONES, ARGRAFFYDD, RHYDYBONT.

# PROPHWYD Y JUBILI,

NEU

# SEREN Y SAINT.

RHIF. 8.] CHWEFROR, 1847. [PRIS 2*g*.

## FFYDD.

GAN mai ar y pegwn cadarn hwn, sef *ffydd*, y mae hyd y nod yr egwyddor gyntaf ac ardderchocaf o grefydd ddadguddiedig wedi ei sylfaenu, a phob careg o'r ddinas nefol hòno, "saer ac adeiladydd yr hon yw Duw," wedi ei goruwch-adeiladu ar hyn, buddiol i ni ymchwilio i mewn i'r egwyddor werthfawr hon, er ei hiawn ddeall, a chynnyddu ynddi, yr hyn a wnawn mor ddealladwy ag y galiwn, gan ddechreu yn ol yr hyn a ddywed Paul, yn Heb. xi, 1 :—"Ffydd yn wir yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled."

Pa beth ydyw ffydd? ebe aml un. Wel, dyma ateb eglur iawn, sef, mai yr egwyddor hòno ag sydd yn tystio neu yn sicrhau i'w pherchenog fodoliaeth pethau, manau, neu bersonau, heblaw a welodd ei lygaid ef, ydyw. Pan glywir arall yn adrodd hanes y pethau a welodd efe, neu a glywodd arall yn eu dweyd, y mae y dyn o'r cyfryw gyfansoddiad, ag y creda neu yr anghreda yr hanes hwnw i'r graddau yr ystyria yn deilwng o'i sylw. Wel, heb ffydd anmhosibl fyddai iddo gredu nac anghredu; canys y mae y peiriant cynneddfol a ddygir mewn gweithrediad drwy dystiolaeth un arall, o anghenrheidrwydd yn rhoddi ei dedfryd o gymmeradwyaeth, neu o gondemniad, ar bob peth a ystyria. Mae gwaith dyn yn credu unrhyw beth, yn brawf ei fod yn feddiannol ar y fath beiriant; a'i weithrediad ar y naill beth, yn brawf digonol y gall gredu peth arall, ïe, bob peth a ewyllysia; neu ynte, os nad all, nid yw ei Greawdwr wedi rhoddi iddo feddiant ar alluoedd ei hun, yr hyn sydd yn arwain i waeth dyryswch etto, ac yn gwneyd dyn yn beiriant analluog ac anghyfrifol. Dywed llawer yn ein gwlad ni, na allant gredu y cyfryw beth, pan nad allant ddangos un rheswm paham, ond nad oes ganddynt ffydd. Amlwg yw nad yw y rhai hyny yn eu hadnabod eu hunain, nac yn deall beth ydyw ffydd.

Nid yw yn bosibl fod un creadur rhesymol yn ddiffydd, heb brofi gwall mawr yn ei gyfansoddiad! Oddieithr fod gan ddyn ffydd, ofer fyddai ei glustiau a'i dafod, canys dyben y Creawdwr yn creu y naill a'r llall, ac yn eu trefnu mor gyfleus, yw, fel y clywai y naill dystiolaeth y llall; ac i ba ddefnydd clywed hyny, os na chredir? a pha fodd ei credir, heb fod gan y cyfryw ffydd? Dichon rhai wrthwynebu hyn oddiar yr hyn a ddywed yr apostol, "Nid oes ffydd gan bawb." Ond atebwn ef drwy eiriau apostol llawn mor wir—"Gan roddi ffydd i bob dyn," &c. Pa fodd y gall hyna fod, heb groesi eu gilydd? Atebaf, i'r olaf, mai un ffordd trwy ba un y rhoddodd Duw ffydd i bob dyn, yw, trwy ei gynnysgaethu â'r gynneddf hòno a ddygir i weithrediad wrth gredu; ac wedi hyny, anfon ei weision i gyhoeddi "newyddion da," sef geiriau y rhai sydd yn effeithiol i ddwyn y gynneddf hono i weithrediad, os caiff degwch. Dengys hyn y rhesymoldeb o fod Crist yn anfon ei weision. "Ewch a phregethwch," ebe efe. "Y rhai a gredant ynof fi drwy eich *ymadrodd* chwi." Dywed Paul fod "ffydd yn dyfod trwy *glywed* gair Duw." Hefyd, "Oherwydd i'n *tystiolaeth* ni yn eich plith chwi gael ei chredu," ebe Paul. Etto, "Gwelodd Duw yn dda, trwy ffolineb *pregethu*, gadw y rhai sydd yn credu." "A'r neb ni chredo a gondemnir."

Ond methu deall pa fodd, ac i ba le, neu o ba le, y mae ffydd yn dyfod pan glywir, yw yr achos o'r gwahanol farnau ar y pwnc hwn, debygwn. Profwn fel hyn, mai nid dyfod yn uniongyrchol oddiwrth Dduw i'r anghredadyn y mae. Etto, dywed Paul fod ffydd yn *dyfod*. Onid dyfod allan o'r gwrandawwyr y mae, yn ei heffeithiau, fel ffrydiau o ffynnonell? Rhesymol ddigon; a'r achos o'i gorlifiad dros ei cheulanau, yw cynhyrfiad y ffynnonell (y gynneddf), trwy dystiolaeth y llefarwr. Ffrwyth ffydd yw ufydd-dod; ac heb hyny, ffolineb yw i neb haeru fod ganddo ffydd, "canys ffydd heb weithredoedd, marw yw."

Ffordd arall ag y mae Duw wedi rhoddi ffydd i bawb fod yn gadwedig, yw, trwy drefnu ffordd i hyny, gosod canol-wr yn iawn, ac anfon ereill i wahodd pawb i gredu yn yr iawn hwnw; neu, mewn geiriau ereill, rhoddodd sail i'w ffydd weithredu, neu i esgor ar ufydd-dod. O'r ochr arall, nid oedd gan bawb o'r cenedloedd paganaidd hyny ag y cyfeiriai Paul atynt, ffydd, oherwydd nid oeddynt yn dwyn ffrwythau y wir ffydd, sef y doniau ysbrydol, duwioldeb, &c. Os nad fel hyn y mae, rhaid fod cynneddf newydd yn cael ei chreu mewn dyn pan y credo; ac os oes cynneddf yn cael ei chreu pan gredo un peth, paham nad oes un yn ychwanegol yn cael ei chreu am bob peth a gredo? Amlwg yw ei bod yn ddyledswydd ar ddyn gredu yn Nghrist; prawf y dichon, neu ynte na ddichon, barnwr cyfiawn ei gospi am beidio. Os dichon, y mae ganddo y gynneddf hono o ffydd. Ac ofer i neb esgusodi eu hunain felly ychwaith. "Nid allaf gredu," sy'n withddywediad; "Ni fynaf gredu," a feddylia y cyfryw. Nid yn unig y mae dyn yn meddu ffydd, ond y mae yn anmhosibl iddo wneuthur un dim yn dymmorol, nac yn ysbrydol, ond sydd yn effeithiau ffydd. Ie, meddaf, ffydd yw yr achos cynhyrfiol a gwreiddiol o bob gweithred, ac o bob ymgais. Heb ffydd, gorweddai y corff a'r meddwl yn hollol *dormant*.

Ystyria, ddarllenydd, beth a achosodd dy ymdrechiadau babanaidd i gerdded, ac i ymgynhenu â'th gyd-chwareuyddion? Paham y ceisit ddysgu yn yr ysgol, oddieithr dy fod yn credu y deuit yn ddarllenwr, yna yn ysgrifenwr; wedi hyny ymdrechet fwy-fwy i fod yn ysgolhaig da; ac wedi hyny, yn mlaen o radd i radd mewn gwybodaeth. Pa beth a gynhyrfodd y cyfan, ïe, bob ysgogiad, ond ffydd, sef *credu y gellit?* Beth a achosa i ddyn adael gwlad ei enedigaeth, ei berthynasau, a phob peth, i groesi y Mor Werydd, mewn llong fach, tua'r gorllewin pell, ond y sicrwydd sydd ganddo oddiar dystiolaeth, o fodoliaeth yr America, efallai, a chredu hefyd ei bod yn wlad well, ac y cyrhaedda yntau yno i'w mwynhau? Wel, pe na chredasai hyny, ni wnaethai un ymdrech i'w chyrhaedd. A fuasai yr amaethwr yn taflu ei wenith mor ddibris ar wyneb y maes, oni bai ei fod yn credu y caffai ef yn ol ar ei ganfed yn y cynauaf? O na, aethai â'r had i'r farchnad yn hytrach, lle y gwyddai y caffai dâl am dano. Pwy a anfonai long gostfawr, a'i llwyth, a'i morwyr, i blith cynddeiriog donau yr *Indian Ocean*, oni bai ei fod yn credu y dychwelai yn ol gydag ychwanegiad mawr? Pwy a weithiai ddiwrnod i'w gyd-ddyn am gyflog, oni bai fod ganddo ffydd y talai y llall ei gyflog iddo? Pwy a dalai am blanu gwinllan, oddieithr iddo ddysgwyl bwyta ei ffrwyth? Neb; yr achos o'r ffydd hon yn y cyssylltiadau yw, trwy ymarferiad o oes i oes; a'r achos cyntaf oedd, oherwydd gorchymyn Pen-llywydd yr elfenau i wneuthur fel a'r fel, ac fel a'r fel y byddai y canlyniadau, ac felly y bu, ac y bydd; a'r addewid o'r cyssylltiad annattodadwy hwn rhwng achos ac effaith, yw sail ffydd, mewn pethau ysbrydol yn gystal â phethau tymmorol. Dyma ddirgelwch yr hyn a ddywedodd Iesu Grist—"Yr hwn a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig," Marc xvi, 16. Megys y derbyniwn ein holl bethau tymmorol trwy roddi ein ffydd mewn gweithrediad, felly hefyd ein holl fendithion ysbrydol a fwynheir drwy ymdrechiadau ffyddiog yn yr iawn ymarferiad â'r moddion apwyntiedig, ac nid dim moddion ereill, canys nid yw yr addewid wedi ei chyssylltu â dim arall; yna anmhosibl bod ffydd ond sydd wedi ei seilio ar addewid, canys "ffydd yn wir yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio," a'r "gobaith a welir nid yw obaith;" felly gwelir fod gan bob dyn allu i gredu ynddo ei hun, ac mai y rhesymoldeb ymddangosiadol iddo o'r dystiolaeth a glywo gan arall, neu a ddarlleno, sy'n cynhyrfu ei ffydd i weithrediad, a'r weithred, oddiar yr egwyddor hon, yn teilyngu yr effaith, a hyny oherwydd y cyssylltiad, neu yr addewid a roed o hyny. Dyma'r rheswm paham y derbynia y cleifion iechyd, sef trwy eu hymarferiad ffyddiog â'r moddion a drefnwyd i'r dyben hyny. Dyma fel y mwynhaent ddoniau ysbrydol, ïe, pob bendithion addawedig, ar lwybr eu dyledswydd; a thrwy barhau i ufyddhau yn ffyddiog i'r gosodiadau dwyfol, y mwynhant fywyd tragwyddol.

Etto, *Ffydd* ydyw, nid yn unig yr egwyddor gynhyrfiol o bob ysgogiad, ond y gallu, neu y nerth trwy ba un y cyflawnir pob gweithred yn y nefoedd ac ar y ddaear. Profa Paul hyn yn Heb. xi, 3, "Wrth ffydd yr ydym yn deall wneuthur y bydoedd trwy air Duw," &c. Yr achos i Dduw ddywedyd y gair "Bydded," oedd, oherwydd ei fod yn gwybod y byddai yn ol ei arch, a hyny oherwydd ei hollwybodaeth

am ddeddfau yr holl elfenau; ac i'r graddau y cyrhaedda dynion i'r unrhyw wybodaeth, y cyrhaedda eu gallu i gyflawni (trwy yr ymarferiad â'r cyfryngau a orchymynodd efe) yr hyn a amcanant, ïe, hyd y y nod yr hyn a ystyrir yn *wyrthiau* yn ngolwg y rhai digred, sef drwy fod eu ffydd ddiysgog yn eu cymhell i weithrediad, a'r ffaith a amlyga ffydd y dyn, a gallu a ffyddlondeb Duw yn unol â'i *addewid.* Ni ddichon anghredinwyr, neu anufyddion, weithredu ffydd i ddwyn y ffaith, am nad eiddynt hwy yr *addewid.*

Amlwg yw, mai oherwydd y ffydd oedd gan Dduw y rheoleiddiodd efe y *chaos* afluniaidd a gwag, o bob da a drwg, i fod yn baradwys mor hardd a dymunol, nes y dywedodd ei Chreawdwr, "Wele da iawn ydoedd." Trwy ei ffydd y gosododd hi ar ei phegynau, ac y cynnalia hi hyd yn hyn; a thrwy ei ffydd y perffeithia hi â'i chyflawnder. Ac felly, i'r graddau cyferbyniol y perffeithia ffydd ei holl breswylyddion rhesymol a ufyddhao iddo, er gogoniant ei enw a'u llesâd hwythau.

I hyn tystia Iesu Grist ei hun, yn Mat. xvii, 20, pan ofynodd ei ddyscyblion iddo paham nad allent hwy fwrw y cythraul allan o'r dyn hwnw; atebai, "Oblegid eich anghrediniaeth; canys yn wir y dywedaf i chwi, pe bai genych ffydd megys gronyn o had mwstard, chwi a ddywedech wrth y mynydd hwn, Symud oddiyma draw, ac efe a symudai draw; ac ni bydd *dim anmhosibl i chwi.*" Yma gwelir, pan na ddichon fod y dyoddefydd yn feddiannol ar ffydd. o ddiffyg rheswm i gredu, fod hyny yn ofynol nid yn unig yn y gweinyddwr, ond yn yr edrychwyr hefyd; canys ceryddai yr Iesu yr olaf oherwydd y diffyg; gwel adn. 17, "O *genedlaeth* anffyddlawn a throfaus, pa hyd y byddaf gyda chwi?" Yn unol â hyn y tystia yr holl ysgrifenwyr ysbrydoledig, a'r un egwyddor a ddysgent i'w cydoeswyr. "Trwy ffydd yr offrymodd Abel i Dduw aberth rhagorach nâ Chain; trwy yr hon y cafodd efe *dystiolaeth* ei fod yn gyfiawn, gan i Dduw ddwyn *tystiolaeth* i'w roddion ef." Yr oedd ganddo ffydd i gredu ddarfod i Dduw orchymyn hyny; ac oddiar y sail hono ufyddhaodd. "Trwy ffydd y symudwyd Enoch, fel na welai farwolaeth." "Cyn ei symud, efe a gawsai *dystiolaeth* [drwy ei ffydd] ddarfod iddo ryngu bodd Duw." "Trwy ffydd, Noah, wedi ei rybyddio gan Dduw am y pethau nas gwelsid etto [efe a'i credodd ar ei air, ac wele y ffaith, sef], a ddarparodd arch i achub ei dy." Trwy ffydd Abraham a offrymodd Isaac; credodd i Dduw, a chyfrifwyd [ei ufydd-dod, sef y ffaith o'i gred] iddo yn gyfiawnder. Ped anufyddhasai, condemniasid ef, er iddo gredu. Trwy ffydd yr aethant drwy y Mor Coch, y syrthiodd caerau Jericho, y safodd yr haul a'r lleuad ar orchymyn Josuah, ïe, a pheth mwy a ddywedaf? Canys yr amser a ballai i mi fynegu am Gedeon, am Barac, ac am Samson, ac am Jephtha, am Dafydd hefyd, a Samuel, a'r prophwydi, y rhai trwy ffydd a oresgynasant deyrnasoedd, a wnaethant gyfiawnder [sef ufyddhau i Dduw], a gawsant addewidion, a gauasant safnau llewod, a ddiffoddasant angerdd y tân, a ddiangasant rhag min y cleddyf, a nerthwyd o wendid, a wnaethpwyd yn gryfion mewn rhyfel, a yrasant fyddinoedd yr estroniaid i gilio. Gwragedd a dderbyniodd eu meirw drwy adgyfodiad; ac ereill a ddirdynwyd, heb dderbyn ymwared, fel y gallent hwy gael adgyfodiad gwell. Dywed fir wneuthur yr holl bethau hyn trwy ffydd. Oni buasai y ffydd

oedd gan Joshua, gallasai lefaru wrth yr haul nes y glynasai ei dafod yn nhaflod ei enau, ac yn mlaen yr aethai yr haul fel arferol; ac oddieithr y ddealltwriaeth a feddai Joshua am gyfreithiau a lywydda y cyfryw, a'u cyssylltiad ag addewid, anmhosibl fuasai iddo gael sail ddigonol i'w ffydd. Ffydd, ynte, yw yr egwyddor gynhyrfiol o bob ysgogiad, sef y gallu a gyflawna bob gweithred. Y mae ffydd yn egwyddor ofynol a gweuedig drwy bob peth, i raddau mwy neu lai; ïe, heb ffydd, anmhosibl yw rhyngu bodd Duw; ac, o'r ochr arall, pa fwyaf y ffydd, mwyaf y rhyngir bodd Duw; ac felly, ymchwiliwn am wybodaeth i'w seiliau, fel y cynnyddo fwy-fwy. Bydded genym ffydd ddigonol i ufyddhau i orchymynion Duw, gan gredu yn ei addewidion yn ddiysgog; canys yr hwn sydd yn ammau sydd fel tòn y mor, yr hon a deflir ac a chwelir gan y gwynt. Na ddysgwylied y cyfryw un y derbynia efe ddim gan Dduw.

Mor afresymol a chroes-haeriadol yw i grefyddwyr gondemnio y Saint am ryfyg, oherwydd y dywedant ddarfod iddynt dderbyn cymmeradwyaeth gerbron Duw, pan, mewn gwirionedd, ni ddyry y Bibl i ni hanes neb saint yn amddifaid o'r graddau gofynol o ffydd i gael y fath dystiolaeth! "Y rhai hyn oll, *wedi cael tystiolaeth* trwy *ffydd*, ni dderbyniasant yr addewid." Allwedd dirgelwch sectariaeth, a'r pegwn sy'n cylymu ei hymgyflwynwyr wrth ei halloran, i ymbalfalu yn y tywyllwch fel y dall am y pared, yw y diffyg o ffydd i dderbyn y gyfryw dystiolaeth oddiwrtho eu bod yn blant iddo, yr hyn a brawf eu hamddifadrwydd o'r Ysbryd a gyd-dystiai ag ysbryd y saint, drwy ffeithiau amlwg, eu bod yn blant i Dduw; a'r diffyg hwn a achosir oherwydd na arddododd gweision Duw eu dwylaw arnynt i'r dyben hyny, a hyny oherwydd na fedyddiwyd hwynt er maddeuant o'u pechodau, a hyny oherwydd na ofynasant iddynt, gan ddwyn ffrwythau addas i edifeirwch; ac ni wnant hyny, am nad oes ganddynt ffydd, neu, yn hytrach, ddim digon i ddangos ei hun mewn ffaith, sef cerdded at y dwfr. Ac felly gwelir fod yr egwyddor hon, sef ffydd, fel moddion yn grwn, ei dechreu a'i diwedd yn cydgwrdd, yr achos cynhyrfiol o'r ysgogiad cyntaf, a'r gallu gweithredol hyd yr awr olaf. Y neb a barhao yn y ffydd hyd y diwedd a fydd cadwedig yn unig.

---

## HENADURIAETH

Yw un o swyddi isaf offeiriadaeth Melchisedec. Apostoliaeth sydd swydd arall yn yr un offeiriadaeth; mae pob apostol yn henuriad, (2 Ioan i; 3 Ioan i; 1 Pedr v, 1;) ond nid yw henuriad yn apostol; cyn y dichon un dyn feddu y swydd hon, rhaid ei fod wedi dyfod drwy y drws i'r eglwys yn rheolaidd, a rheoleiddio ei hun fel y cyfryw hyd oni elwir ef drwy Ysbryd Duw. Gwel Act. xiii. 2, 3; ac wedi hyny nid yw yn y swydd nes ei ordeinio gan ryw un, neu fwy, a feddai y swydd hon o'r blaen. Tit. i, 5. Anhawdd i ddyn gyflwyno i arall yr hyn nid yw yn feddiannol arno ei hun. Ni ddichon ffrwd redeg yn uwch na'i ffynnonell. Mae gan henuriaid teithiol hawl i ordeinio henuriad, os na fydd o fewn i gyffiniau rhyw gynnadledd; neu os bydd, rhaid gwneuthur hyny yn nghymmanfa y gynnadledd, Act. xiv, 23; 1 Tim. iv, 14, ac yna dys-

gwylir, os bydd gan ryw un beth yn ei erbyn, iddo ei hysbysu yn y fan, neu byth wed'yn na ynganed air; rhaid i'r hwn a alwyd godi o flaen yr eglwys i dystio am y gobaith sydd ganddo o'i gymmeradwyaeth o'r swydd. Dyledswyddau henuriaid ydynt fel y canlyn:—"Bedyddio, ordeinio henuriaid, offeiriaid, dysgawdwyr, a diaconiaid, a gweinyddu y bara a'r cwpan—elfenau arwyddocaol am ddrylliad cnawd a thywalltiad gwaed Iesu Grist—a *chadarnhau* y rhai a fedyddiwyd yn yr eglwys, drwy arddodiad dwylaw, er iddynt dderbyn bedydd yr Ysbryd Glân a thân, yn ol yr ysgrythyrau. [1 Pedr v, 2. 3. 4. 5]. Hefyd i bregethu, addysgu, egluro, annog, a bedyddio, a gwylied dros yr eglwys; ynghyd â chadarnhau yr eglwys drwy arddodiad dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân, ac i *lywyddu* yn eu holl gyrddau." 1 Tim. v, 17.

"Mae yr henuriaid i gynnal y cyrddau yn ol fel eu harweinir gan yr Ysbryd Glân [Act. xiii, 4], yn ol cyfammodau a dadguddiadau Duw." *Ath. a'r Cyf.*

Dyledswydd arall a berthyna i'r swydd hon ydyw, myned at y Saint cleifion, a'u heneinio ag olew cyssegredig os gofynant ganddo. ac arddodi dwylaw a gweddio ar i'r Arglwydd eu hiachau. Gwel Iago v, 14. "A oes neb yn eich plith yn glaf? *galwed ato* [dyledswydd y claf yw galw] henuriaid yr eglwys; a gweddiant hwy drosto [yna nid hwy, ond Duw, drwy eu bod hwy yn arferyd y moddion, sy'n rhoddi iechyd], gan ei eneinio ef ag olew yn enw yr Arglwydd, (15). A gweddi y ffydd a iachâ y claf, a'r *Arglwydd* a'i cyfyd ef i fyny [o wely cystudd], ac os bydd wedi gwneuthur pechodau [ar ol cael maddeuant o'r rhai blaenorol drwy fedydd], hwy a faddeuir iddo." Nid bob amser y derbynid y fendith, nac yn wir un amser os byddent yn euog o bechodau, sef troseddiadau o gyfreithiau yr eglwys, ac yn ceisio eu cuddio; dylai yr henuriad ofalu na bo hyn yn rhwystr i'r claf gael iechyd; canys "yr hwn a guddia ei fai, ni lwydda." Am hyny, "cyffeswch eich camweddau bawb i'ch gilydd," ebe Paul, "a gweddiwch dros eich gilydd, fel eich iachaer. Llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn."

Mae yn drosedd mewn henuriaid i ommedd gwneyd hyn, ac y mae y claf a esgeuluso y gorchymyn pendant hwn, yn pechu yn erbyn yr hwn a'i rhoddodd. Dylai fod ffydd gan y naill a'r llall; ac yn wir pa fodd y dichon lai, gan fod yr addewid ar yr ammodau hyn yn unig; canys ffyddlon yw yr hwn a addawodd y fendith. Efe sydd yn cyfranu yr amser y myno ei hun, ond nid heb ufyddhau; nid yw yr offeryn ddim ond y swydd sydd yn cylymu yn y nefoedd ac ar y ddaear gwlwm ar y rhaff dair cainc hon.

Diolchwn i Dduw am y fath anrhydedd a braint; ymagweddwn bob amser ac yn mhob peth, fel y byddom wedi ein hamdoi ag ysbryd ein swyddi, gan weddio bob amser â phob rhyw weddi a deisyfiad yn yr Ysbryd Glân, fel y byddom demlau addas i ysbryd ein swyddi drigo ynom yn barhaus.

Mae swydd henuriad yn un bwysig a gogoneddus iawn. Efe yw bugail praidd yr Iesu: dan ei ofal ef yr ymddiried ei wyn; a dysgwylia y Pen bugail ei braidd oddiar ei law ef pan y delo i'w brif gorlan, pan na bydd ond un bugail ac un gorlan. Dylai fod yn wyliadwrus drostynt, yn eu caru megys y cara Crist hwynt; a bod â'i holl egni yn eu porthi â didwyll laeth y gair, fel y cynnyddont yn y

santeiddiaf ffydd, fel y deallont ddichellion y diafol a'i fleiddiaid, yr adnabyddont ac y dilynont lais eu bugail, y caffont oruchafiaeth ar holl demtasiynau y fall.—fel y rhagflaener y cyfan i gydweithio er perffeithio ei braidd. Frodyr anwyl, edrychwch gan hyny arnoch eich hunain, ac ar yr holl braidd, ar yr hwn y gosododd yr Ysbryd Glân chwi yn olygwyr, i fugeilio eglwys Duw, yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed.

Ni dderbynir cyhuddiad o unrhyw drosedd yn erbyn y swydd hon ond dan ddau neu dri o dystion, a'r rhai hyny yn yr eglwys, ond nid gan y byd; ac ni dderbynir y cyhuddiad ychwaith gan neb ond o flaen cynghor o henuriaid; etto, os gwel brawd neu chwaer henuriad yn troseddu, dyledus iddo fyned ato ef ei hun. Os yngana air wrth ereill yn gyntaf, y mae yn droseddwr. Gwell peidio dweyd gair wrth arall am ei drosedd, oddieithr ei fod yn tarddu oddiar gariad at, ac o awydd llesoli y cyfryw, onide mae perygl gwneyd y rhwygiadau yn fwy: ond ychwaneg ar hyn yn "rheolau dyscyblaethol."

Mynych y dywedir wrthym nad oedd gan neb hawl i arddodi dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân, ond yr apostolion. Gofynais i un a hongiodd y ddadl ar y pegwn hwn, Ai apostol yr Ananias hwnw a arddododd ddwylaw ar Paul, er iddo dderbyn yr Ysbryd Glân? (gwel Act. ix, 12, 17); ac efe a aeth yn fud!

Dylai yr holl henuriaid ymgyfarfod yn y cymmanfaoedd i iawn drefnu holl faterion yr eglwysi. Cânt yno docynau yn profi eu bod yn y swydd; ac ni dderbynir neb fel y cyfryw, heb y fath ddangoseg o dan law y llywydd. Gofaled pob un am hyn!

Yn awr, henuriaid Saint y Dyddiau Diweddaf, gwyddoch eich cylch; cofiwch mai i chwi yr ymddiriedwyd y grâs hwn, goruchwyliaeth yr "unfed awr ar ddeg"—allweddau iachawdwriaeth eich cyd-oeswyr—"gweinidogaeth y cymmod"—sef y trysor hwn mewn llestri pridd, yr hwn a roddwyd i chwi gan Dduw, yr hwn a'ch galwodd chwi â galwedigaeth santaidd, nid yn ol eich gweithredoedd chwi, ond yn ol ei arfaeth ei hun a'i râs. Pregethwch y ffurf hon o athrawiaeth a draddodwyd i chwi gan yr apostolion santaidd; byddwch daer mewn amser, ac allan o amser; argyhoeddwch, ceryddwch, annogwch â phob hir-ymaros ac athrawiaeth; nac ymrysonwch ynghylch geiriau, yr hyn nid yw fuddiol i ddim ond i ddadymchwelyd gwrandawwyr; byddwch weithwyr diwyd a gonest, gan iawn gyfranu gair y gwirionedd. Gochelwch ynfyd ac annysgedig gwestiynau, oherwydd y maent yn magu ymrysonau, ac ni ddylai gwas yr Arglwydd ymryson, ond bod yn dirion wrth bawb, yn athrawus, yn ddyoddefgar; mewn addfwynder yn dysgu y rhai gwrthwynebus, i edrych a roddo Duw iddynt hwy ryw amser edifeirwch i gydnabod y gwirioneddau a ddysgwch, fel y delont i'r iawn allan o fagl y diafol. Ymwisgwch â gwregys cariad, perswadiwch byd y nod eich gelynion, a chwi yn gwybod cariad Crist, yr hwn pan ddifenwyd, ni ddifenwodd drachefn: tynwch hwynt â rhaffau cariad. Gwyddoch ddarfod i chwi dderbyn rhan yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, yn yr hon y crynhoa efe ynghyd bob peth yn Nghrist Iesu. Chwychwi a anfonodd efe i'r prif ffyrdd a'r caeau, i gymhell pawb ddyfod i mewn i'r wledd. O, cymhellwch yn onest, cyn cau y drws: ystyriwch werth eneidiau, y fraint

a gawsoch o ddyfod i mewn eich hunain, a bydded i'r golled a'r perygl o fod allan eich annog i ddiwydrwydd. Gwell bod heb y swydd (y dalent), na'i chuddio wedi ei chael. Cofiwch dynghed yr hwn a gamddefnyddiodd yr "un dalent:" teflir ef i'r tywyllwch eithaf. Pa fodd, ynte, yr ymdery yr hwn a esgeulusodd y "pump talent?" Y pethau hyn cofiwch bob amser, gan ddysgu eich praidd i wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a byw yn sobr, ac yn gyfiawn, ac yn dduwiol, yn y byd sydd yr awr hon; gan ddysgwyl am y gobaith gwynfydedig, ac ymddangosiad gogoniant y Duw mawr a'n Harglwydd Iesu Grist; fel y galloch roddi eich cyfrif i fyny yn llawen, a chlywed y gwahoddiad, "Da was, da a ffyddlon; buost ffyddlon ar ychydig, mi a'th osodaf ar lawer; dos i mewn i lawenydd dy Arglwydd." Hyd hyny, frodyr, y pethau hyn llefarwch, cynghorwch, ac argyhoeddwch, yn ol nerth ac awdurdod eich swydd, gan ymddiried yn yr hwn a ymddiriedodd eich swyddi i chwi am y cymhwysderau angheuriheidiol i'w cyflawni. Gan fod Duw o'n plaid, nid yw waeth pwy fo i'n herbyn; o hono ef y mae ein digonedd ni. Gwyliwn a gweddiwn, fel y byddo i'r hwn a ddechreuodd ynom y gwaith da hwn ei orphen hyd ddydd Iesu Grist, pan y bydd y rhai a droant lawer i gyfiawnder yn dyscleirio fel sêr y nefoedd byth mewn gogoniant, fel y gallom ddywedyd wrth Arglwydd y cynauaf, Wele fi a'm hysgubau wedi cyrhaedd yr ysgubor, ac wrth y Pen-bugail, Wele fi a'r praidd a roddaist i'm gofal—ni chollais un. Hyn yw ein braint a'n dyledswydd. Ysbryd y Duw byw a'n nertho i'w chyflawni.

———

## "AMDDIFFYNIAD Y MORMONIAID."

A GANLYN sydd yn gopi o'r hyn a anfonwyd, dan yr enw uchod, i'r *Drysorfa Gynnulleidfaol*, yr hon a gyhoeddir gan y Parch. J. T. Jones, yn Nghaerfyrddin :—

MR. GOLYGYDD,—Gan i chwi gyhoeddi, yn rhifyn Mehefin o'r *Drysorfa*, ohebiaeth rhyw Didymus ab Gwilym, geirwiredd pa un a dystir gan ryw Thos. Hopkins ac Evan Davies o Ystradgynlais, yn cynnwys yr hyn a enwant yn "Gyffes Ffydd y Mormoniaid;" gobeithiaf y parha yr un cyfrwng mor "Annibynol" â gadael i minnau, dros y "Mormoniaid," fel eu gelwir, hysbysu eich darllenwyr nad ydym ni yn credu y fath bethau ag a gynnwysa y "gyffes" hono. Nid oes oddieithr un dosran o'r deg hyny, a'r nad ystyrir genym ni yn gyfeiliornus; a dywedaf, wedi cael gwell manteision na neb a adwaen yn y wlad hon i wybod beth yw Mormoniaeth, na ddarllenais, ac na chlywais gan neb o honynt, y fath gyfeiliornadau ag a gynnwysa y "gyffes" gyfeiriedig. Ond, er hyny, ni fynwn i'ch gohebwr a'i dystion feddwl fy mod yn eu cyhuddo o gam-ddarluniadau bwriadol; ac etto, sicr ydwyf eu bod naill ai wedi cael camddarluniad, neu wedi camddeall yn fawr, ac nid anmhosibl fod y "gyffes" hono yn ffrwyth y naill a'r llall. Ni phroffeswn ninnau berffeithrwydd: etto, ni addefwn i ni weled neb o honom mor anmherffaith â rhoddi y fath gam-ddarluniad â hyny o'n ffydd; ac addawwn hefyd, os cawn afael ar y fath ddyn, ymdrechwn ei addysgu yn well. Annheg, er hyny, yw i gymmeriad unrhyw gymdeithas ddyoddef y fath gam oherwydd cam-ddarluniad unrhyw berson. Mae "shiboleth" y gyffes hono yn tystio yn eglur mai yr un yw ei thad hi â'r tracthodyn bach dienw a gyhoeddwyd yn Merthyr,

ac a brofwyd yn enllib câș i gyd. Cyffes ffydd Saint y Dyddiau Diweddaf, mewn gair a ddarllenir yn y Testament.

Am yr "Apostol" y sonia eich gohebwr am dano, ni wyddom ni ddim; ond sicr ydym nad oes neb yn Nghymru, mewn cyssylltiad â ni, yn hòni nac yn cael y cymmeriad uchel hwnw. Ond, rhag eich blino â meithder, nid anturiaf nodi y gwahaniaethau mawrion ereill sydd rhwng y "*gyffes*" dan sylw, â'r athrawiaeth a broffeswn, ond yn unig cyfeiriwn y cyfryw o'ch darllenwyr a ddymunant wybod hyny at yr amrywiol lyfrau a gyhoeddwyd genym yn Gymraeg, pa rai ellir gael gan ein brodyr yn gyffredinol, ïe, hyd y nod yn YSTRADGYNLAIS ei hun; a diau i'ch gohebwr a'i dystion eu gweled yno, a gwybod gwell nâ'r gyffes hyll hòno! Os eisieu deall ein "cyffes" sydd arnynt, paham na chredant hi yn ein geiriau ein hun, yn lle geiriau ein gelynion? Pwy a'i gwyr oreu?

Ydwyf, yr eiddoch yn ostyngedig,

D. JONES.

Anfonwyd yr amddiffyniad hwn i'r *Drysorfa*, a chyfaddefodd y Golygydd "parchedig" iddo ei dderbyr; a pha ddefnydd a wnaeth o hono? Yn ol arferiad cyffredin golygwyr rhagfarnllyd ac enllibus ein gwlad, yn lle rhoi chwarae teg i'r gwir, i ni, ac i'w ddarllenwyr ei hun, drwy ei gyhoeddi, cyhudda ni o "anfoneddigeiddrwydd!" Ond ni allwn ni ei ganfod felly, nac un dyn arall a fo yn *sobr*, debygem. Os gwir a glywir lai nâ chan milltir o Gaerfyrddin, traethwyd mwy o "anfoneddigeiddrwydd" gan feddwyn o bwlpud, ïe, gymmaint nes gorfod ei droi allan; ac nid y "parchedig" hwn a feia air ar y fath beth â hyny. Ond, O, y mae y *Drysorfa* wedi myned yn rhy santaidd i enwad cyfan o grefyddwyr gael amddiffyn y grefydd y dysgwyliant gael bywyd trwyddi—ïe, rhag y camgyhuddiadau gwarthus ac annuwiol a gyhoeddodd yr un Golygydd, yn yr un *Drysorfa*, o aflendid i'w herbyn yn ddiachos! Esgusodid ef y tro cyntaf i raddau, gan feddwl y gallasai fod yn ddigon dwl i goelio fod y Saint yn credu y fath "gyffes;" ond yn awr gŵyr well, ac ni adawa i'w ddarllenwyr wybod; yr hyn a brawf fod camgyhuddiadau ac enllib yn boddio ei chwaeth ef yn well na'r gwir. Dyoddefed y dienog a'r gwirionedd rym ergyd ei fwa ef; a da nad yw hyny ond saethau brwyn. Barned ei ddarllenwyr ef.

Ffordd hawdd iawn, a rhy gyffredin o lawer, i awduron a fyddo cywilydd ganddynt ddangos eu gwynebau ar ol gwneyd drwg, yw dianc drwy y drws cefn, gan waeddi "Cabldraeth" ar bob peth a ddynoetha eu cywilydd: felly hwn hefyd a ddianc i'w dwll, gan gyhoeddi ar yr amlen fod yr amddiffyniad uchod yn "GABLDRAETH!" Gŵyr well pethau o lawer; ac y mae y tric hwn yn rhy hen ac adnabyddus i lwyddo, bellach. Yn dysgwyl hyn, cadwasom y copi hwn; a barned y darllenydd pa beth yw y "gabldraeth" neu yr "anfoneddigeiddrwydd" sydd ynddo. Buom yn hir ddysgwyl o fis bwy gilydd i'r "gyffes" hòno ddyfod o hyd i'w *sink hole* ei hun, sef y *Bedyddiwr*—y ffynnonell o bob ffrydiau aflan—tad yr holl gamgyhuddiadau, a'r cenadydd a draetha bob ystoriau anwireddus arnom; do, bid siwr, rhoisom ein gair i amryw ar y pryd, naill ai y deuai y *Bedyddiwr* o hyd i'r *carcass* hwn drwy ei sawyr aflan, neu yr ymlusgai yr ysgerbwd hyd Caerdyf i gael ei gladdu; ni wyddem pa fodd yn y byd, ond naill ai drwy gigfranod y *rookery* hon, neu rywfodd, credem mai ei thynghed

cyn diwedd ei gyrfa fyddai cael croesaw yn ei mam nyth, sef y *Bedyddiwr;* a phan yr oeddym bron yn barod i addef ein prophwydoliaeth yn gau, dyma hi allan yn y *Bedyddiwr*, yn ddigon siwr, fel seren wibiog! Ond pwy sydd heb ddeall ystranciau y Golygydd hwnw? Nid neb o'i ddarllenwyr, meddyliwn. Ychydig yn ol yr oedd y ddau Olygyddion "parchedig" hyn a'u pleidiau ben-ben â'u gilydd; ond yn awr, dyma gyfrwng godidog i ddileu canolfur y gwahaniaeth oedd rhyngddynt, ac ymgymmodi â'u gilydd i erlid y Saint, a'r hyn a gyhudda y naill yn cael ei wirio gan y llall!

Am Olygydd y *Bedyddiwr*, nid oeddym yn meddwl ymddarostwng ychwaneg i sylwi ar ei sothach drewedig; ond am unwaith etto, cawn roddi cip olwg ar ei annhegwch. Yr oedd wedi gwrthod amddiffyn un amser, ond wedi traethu ei anwiredd arnom, gwaeddai na wnai ddim â ni, ac addawsai ein gadael yn llonydd, eithr gollyngai allan yr ystori afianaf a gafai yn y rhifyn nesaf; yna ceuai ei wasg rhag amddiffyn, &c. Ië, hyd y nod yn y rhifyn o flaen yr hwn a gynnwysa y "gyffes" hòno, gommedda yn ddigywilydd i ryw Gwilym Mynwy amddiffyn y Saint yn erbyn cam-gyhuddiadau Dafydd Williams, Abercanaid. (Gwel ar yr Amlen.) "Nid y'm yn ewyllysio gweled y ddau hyn yn ffreio â'u gilydd o barthed i'r Seintiau," ebe efe. O, nac yw, siwr, os yw Gwilym Mynwy yn ffreio gair o'u plaid, neu yn dangos gair o dwyll ei bartner anwyl ef; ond, hai Dei! hwi Dafydd! ffreia di a phawb ereill i'w herbyn a fynoch drwy'r *Bedyddiwr*, ac os ffreiant yn ol, rhoddaf glo ar ei geneu, hyd y gallaf fi. Dyma ei iaith a'i ymddygiad ef a'i gynffonau er's blynyddau. "*Now you shall, now you sha'nt,*" yw ei ffiloreg.

O na, ddarllenydd hynaws, nid yw y "gyffes" hòno ond un o fwganod gwneyd ein gelynion erlidgar, fel pob peth arall a gyhoeddir i'n herbyn yn nghroniclau a thrysorfäau sectaraidd y wlad. Paid a'u coelio, rhag dy amddifadu o'r gwir. Amlwg yw nad ydynt yn ewyllysio i'w darllenwyr ddeall ein hegwyddorion, onide dyfynent yr hyn a gredwn o'n llyfrau ein hunain. Ai ni, ynte ein gelynion, a ddichon osod ein daliadau allan gywiraf, tybied? Pe credem y "gyffes" a nodwyd, a fyddai rhyw reswm i ni ei gwadu ar gyhoedd? Oni ddelid ni felly yn gelwyddog gan y rhai a ddelai atom o bob plaid? ac ai tybied yr arosent gyda ni wed'yn wrth y cannoedd, drwy bob gwawd ac erlid, fel y maent?

Syndod fath anghysondeb——a luniodd,
Heb linell yn ateb;
Wrth hir drin ei ffolineb,
Aeth Owens yn is na neb.

---

## DAMMEG YR WYN A'R BWYSTFILOD.

Ar foreu hyfryd hâf, gwelwn ryw hên ful-asyn methedig yn ymlwybro ar hyd yr heol, gan grafu ei damaid hyd yr ymylon nes y daeth ar gyfer dôl frâs a hyfryd, yn yr hon yr oedd nifer o wyn diniwed yn pori, a chan fod newyn yn cyfyngu ei fola, torodd dros y clawdd, a bwytäodd borfa fras nes ei ddigoni. Ac wedi hyny, gwelwn ef yn sathru y gweddill

dan ei draed; a chan godi ei ben moel i'r awyr, a'i glustiau mawr yn syth i'r lan, agorodd ei geg anferth, a dechreuodd frefu a chrygleisio fel *mul-asyn*. Deallais mai ei amcan oedd dychrynu yr wyn a chynhyrfu bwystfilod y goedwig gymmydogaethol i ddod yno i'w dyfetha. Atebodd adleisiad ei ysgrechiadau y dyben i'w dwyn hwy oll o'u ffäau, ond y rhai callaf o honynt a ddeallasant nad oedd ond brefiad mul-asyn, ac a ddychwelasant i'w ffäau; ond y bleiddiaid, y cadnoaid, y dylluan, a'r holl fwnciod a ddychrynasant with eu lleisiau eu hunain, ac a grynhoisant ynghyd; ac ar hyny wele lew anferth o'r cwr dwyreiniol o'r goedwig yn dyfod ar ffrwst mawr, ei ben anferth a'i gynffon am yr uwchaf, dan ruo am ei ysglyfaeth; gwahoddodd y *jackals* a'r holl grach-fwystfilod ereill i ddilyn ei gwt tua'r ddôl, o'r lle y clywsai arwydd-lais am ysglyfaeth. Ac er mor greulon eu hymgyrch, ac ofnadwy eu brefiadau, ni allwn beidio chwerthin wrth weled y mwnciod pert yn hela eu gilydd o frigau y coedydd tua'r llawr dan *chatt'ro* eu dannedd, a thynu gwynebau yn eu hawydd i ddilyn cwt yr osgordd *zoological* hon, i'r frwydr. Ond ar eu dyfodiad i'r ddôl, gwelsant er eu gofid mawr fod y bugail, yr hwn oedd wedi clywed dolefain y mul-asyn, a dysgwyl yr effaith a gaffai ar y bwystfilod hyny, eisoes wedi eu rhagflaenu, wedi troi y mul-asyn i'r heol yn ol, ac yn amddiffyn yr wyn. Pan welodd y llew brych hyn, ac ofni y dirmygid ef yn ngolwg y crach fwystfilod a'i dilynasant os ciliai, a aeth yn mlaen ar gyfer yr wyn, gan wahodd y lleill i'w ganlyn; yna rhoddwyd iddynt lais fel llais dynion, a hwy a fygwthiasant ysglyfaethu yr wyn am iddynt wneuthur y fath gynhwrf, ac achosi iddynt y drafferth o ddod yno. Yna dangosodd y bugail iddynt na wnaeth yr wyn druain un aflonyddwch iddynt hwy na neb arall, ond pori yn dawel yn y ddôl werdd lle eu rhoddwyd, ond mai y mul-asyn a drodd efe i'r heol oedd yr achosydd o'r *false alarm*, a bydded rhyngoch chwi ag ef, ebe efe. Ar hyn dropiodd rhai eu penau i lawr mewn cywilydd, edliwiodd ereill i'w gilydd. Mor ffol oeddent i adael i frefiadau mul-asyn eu gwneyd yn destun gwawd i'r holl fwystfilod ereill, nad ellid dysgwyl gan ful-asyn amgen na brefiad, achos neu beidio! Trodd y mwyrif yn ol i'r goedwig mewn gwarth, a'u cynffonau yn llusgo hyd y llawr. Ond y llew a ymgynddeiriogodd waeth waeth ar hyn, ac a ddenodd y lleill i ddial ar yr hen ful-asyn druan, gan fygwth yr yspient eu cyfleusdra i ysglyfaethu yr wyn wedi ymadawiad y bugail. Yn nesaf peth gwelwn y llew yn llusgo y mul-asyn gerfydd ei gynffon; y lleill, rai yn ei glustiau, rhai yn ei draed, ac ereill gerfydd croen ei fola, nes ei gael dan frefu yn groch i ffôs y clawdd, a'i draed i fyny! Yna troisant eu pen ôl ato, ac a'i claddasant fel ysgerbwd, ac a ddychwelasant bob un i'w ffau. Y ddammeg sydd wir, ac eisoes wedi mwy nâ hanner ei chyflawni, a'r deongliad a ganlyn yw ei hallweddau:—

"*Yr wyn defaid*," yw Saint y Dyddiau Diweddaf. "*Y ddôl frâs*," yw eu heglwys. "*Eu porfa*"—y doniau ysbrydol. "*Y mul-asyn*"—yr ysgymunedig beth hwnw a fu yn sathru eu porfa, ac yn brefu drwy y *Bedyddiwr*. (Gwel Rhifyn Hydref, &c.) "*Llew y Dwyrain*"—y llew a'r dannedd haiarn a'r giau pres, sy'n adleisio brefiadau pob mul-asyn, blaidd, cadno, a dylluan, o Gaerdyf, hyd Gaergybi, ac yn gwahodd holl greaduriaid aflan y goedwig i ddilyn ei gwt i ddial ar yr wyn! "*Y bleiddiaid*"—Pregethwyr ac awduron erlidgar drwy'r dywysogaeth, y rhai y mae eu ffäau yn Dowlais, Abercanaid, Caerdyf, Llanelli, Caerfyrddin, Dolgellau, Llynlleifiad, ac ogofeydd

ereill. "*Y mwnciod*"—yw y *jacks* sy'n adleisio ysgrechiadau y bleiddiaid a'r llew yn y tafarndai a'r capeli o Lanfair-caereinion, hyd gyffiniau y dywysogaeth. "*Angladd ysgerbwd y mul-asyn,*" sydd heb ei gwblhau hyd yn hyn, ond a fydd ar fyrder. Amen.

---

## ARWYDDION YR AMSERAU.

I'r Saint, y rhai ydynt yn edrych am yr arwyddion addawedig o'r amseroedd diweddaf, ni raid ond eu cyfeirio at y rhagredegwyr rhyfeddol a lliosog, a ehedent mor gyflym ar adenydd yr elfenau drwy bob cwr o'r byd, er eu cofi u o'u dyledswyddau i wylio a gweddio, gan fod amser eu hymwared hwy yn agosàu, fod eu Duw hwy wedi cychwyn allan i frwydr, i ryfela fel y rhyfelodd efe yn nydd y gad, ac fod dystrywiwr y cenedloedd ar ei ffordd.

Rhoddodd ein Messia, pan ar y ddaear, brofion anwadadwy o'i ragwybodaeth, a'i ddaioni i'w blant yn y desgrifiad manwl o'r arwyddion, y rhyfeddodau, y rhyfeloedd, yr heintiau, nodau, y plâau, a'r barnedigaethau; y daeargrynfâu, a'r chwyldroadau, a'r newyn; calonau dynion yn llesgâu gan ofn a dychryn oherwydd y pethau a ddeuant ar y ddaear. Y mellt, y taranau, y môr a'i donau yn rhuo gan orlifo ei lànau; heblaw y byddai rhybyddion y bodau astronomyddol fel clariwn angylaidd yn cyd-dystio i'r byd, fod eu Brenin yn dyfod fel concwerwr y concwerwyr, i ymweled, â'i gleddyf mawr a chadarn, â breniniaedd y ddaear ar y ddaear, ac i roddi ei ddial ar holl rai annuwiol y ddaear, pan y cesglir pawb oll a'r nad *adwaenant* Dduw, a'r nad ufyddasant i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist, fel carcharorion mewn daeardy, a hwy a garcherir—pan y neidia mynyddoedd fel hyrddod, a'r bryniau fel wyn defaid; a'r ddaear gan symud a ymsymud fel meddwyn, ac a ymsigla megys bwth; a'i chamwedd fydd trwm arni, a hi a syrth, ac ni chyfyd mwy. O amser rhyfedd! Da y geilw yr Apostol ef yn "amseroedd enbyd yn y dyddiau diweddaf;" etto mae'n amlwg oddiwrth eiriau Crist nad ystyriai dynion, nad mor amlwg y gwelent, y teimlent, ac y dyoddefent o dan y barnau hyn, na ddychwelent i roddi y gogoniant i Dduw, ond ei gablu oherwydd y plâau, yr heintiau. &c. Ond "megys yr oedd yn nyddiau Noah, felly y bydd yn nyddiau dyfodiad Mab y dyn." Bwyta ac yfed, priodi a rhoi i briodas, a bwrw y dydd drwg yn mhell yr oeddent hwy, hyd y dydd yr aeth Noah i mewn i'r Arch. "Felly" ynte yn awr. "Pa le y mae addewid ei ddyfodiad," meddant. Ac ni wybuant hyd y dydd yr aeth Noah i mewn i'r arch, a dyfod o'r diluw a'u cymmeryd *hwy oll* ymaith. Er mor eglur yw arwyddion yr amserau, etto nid oes neb ond plant Duw yn eu deall yn awr, mwy nag eu deallid gan blant y byd yn y cynoesoedd, canys y maent hwy drwy eu doethineb yn eu cyfeirio fel ffeithiau o ryw achosion digon naturiol iddynt hwy; ymgysurant o dro i dro nad oes berygl, oherwydd bu y cyffelyb bethau o'r blaen lawer gwaith, meddant. Heddwch, heddwch, yw eu llais hwy o hyd. "Yna y daw efe fel lleidr yn y nos," neu "fel dinystr disymmwth ar eu gwarthaf *hwynt oll.*" Ond "chwi, chwi," ebe yr Apostol, nid ydych blant y tywyllwch, fel y byddai i'r dydd hwnw eich goddiweddyd, ond plant y goleuni ydych chwi.

"Am hyny byddwch chwithau barod, canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn."

Ond nid oes un lle i ni feddwl y bydd y cyfan o'r pethau hyn yn cael eu cyflawni ar yr un pryd, ond gan ddechreu yn raddol eleni yn y cwr hyn, ac wedy'n yn rhyw gwr arall o'r byd; gan gynnyddu waeth-waeth, boethach-boethach, ac amlach, a mwy anniodddefol i'r graddau cyferbyniol ag y byddo y cenedloedd, y llwythau, a'r ieithoedd, wedi cael manteision i ufyddhau i'r genadwri bwysig a anfonai Duw drwy enau ei weision atynt, canys nid cyfiawn eu dinystrio cyn cynnyg iddynt ffordd o ymwared; ac nid oes ffordd o ymwared ond drwy ufydd-dod i'r "efengyl dragywyddol." Ac y mae hono fel ei pregethir gan anfonedigion Duw "yn allu Duw er iechydwriaeth," dymmorol ac ysbrydol; ac nid y'm yn gwybod ddarfod i Dduw fyned i farn â'r byd mewn un oes o hono, heb drefnu gwaredigaeth dymmorol, cystal ag ysbrydol, os ufyddhaent i'w alwad, ac felly yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd y crynhöa efe ynghyd bob peth sydd yn Nghrist Iesu, naill ai i fynydd Sion, neu i Jerusalem, canys yno yn unig y bydd gwaredigaeth rhag plâau Babilon fawr; a chofied y Saint mai drwy ufyddhau i'r alwedigaeth, sef, "Deuwch allan o honi hi, fy mhobl i, &c.," yr addewir gwaredigaeth. Pa fodd y gallant ddysgwyl diangfa, os arosant ynddi, yntc? Ac er rhybydd i'r Saint barotoi, dengys Duw drwy arwyddion nodedig yr amseroedd terfysglyd ac enbyd hyn, ei fod yn cofio ei gyfammod â'r tadau, "y cwttoga efe ei waith ac a'i gwna yn fyr mewn cyfiawnder," ac y mae yr holl bethau hyn fel cynnifer o dystion fod awr ei farn ef eisoes wedi dechreu ar drigolion anufydd y ddaear, ac ni ddychwel ei gleddyf yn ol i'w wain nes cwblhau bwriadau ei galon.

Dywed Ioan y dilynai y march coch sodlau y march gwyn yn gyflym; ac onid gwehyriadau y cyntaf yw'r swn rhyfeloedd a'r trwst arfau a adleisiant o uchel greigiau Circassia, Rwssia, a Poland? Onid ei gamrau ef a sathrasant gannoedd o'n cydwladwyr, a miloedd o'r Chineaid, yr Hindwaid, a'r Bengaliaid, i'r llwch yn ddiweddar? Oni charlama oddiyno drwy Affrica i Portugal, gan adael miloedd yn gorwedd yn eu gwaed? Ac wele efe yn awr wedi gosod y cyfandir gorllewinol fel crochan berwedig dan ei draed. Marchogodd Santa Anna arno am flynyddoedd drwy daleithiau y *patriots*, &c. Yn awr, march i farch, a dur yn erbyn dur, a miloedd yr Americaniaid a sychedant am waed dynion. A hyn oll mor gyflym ar ol y march gwyn, sef yr EFENGYL DRAGYWYDDOL a ddygwyd gan yr angel i ddynion yn y flwyddyn 1830. Paham nad allwn ddysgwyl y trydydd march, sef y du, a'i newyn tost i ddilyn eu sodlau yntau? A ddaw y ddau mor eglur, a'r trydydd heb eu dilyn? Beth yw y cwynfan, y galar, a'r ochain a glywir drwy'r byd? Edrychwn, clywn, neu ddarllenwn newyddion yr oes. Ymborth—Ymborth—Newyn, yw eu cri, nes y mae holl deyrnasoedd Ewrop am y cyntaf yn ymlewa am ymborth o'r gwledydd pell. ac yn darparu erbyn newyn. Yn Poland, Rwssia, &c., mae y werin yn wancus am y cloron pydredig, yr yd a'r gwellt cyn iddynt addfedu, ac yn byw ar ymborth anifeiliaid er cadw bywyd ynddynt.

Ond y mae wedi dyfod yn nes nâ hyna etto! Ydyw; clywir ei wehyriad yn uchel o'i ffroenau duon yn yr Iwerddon, a gwelir ei gyflafan dost dros wyneb y chwaer ynys yn ein hymyl. Galarus yw

clywed drwy newyddiaduron y wlad, oddi yma a thraw, am ddynion cryfion, ac, unwaith, heiuyf—gwragedd a mamau, ynghyd â phlant, wrth y cannoedd yn ymlwybro hyd yr heolydd, fel cysgodau o'r hyn a fuont, a'u hymddangosiadau allanol yn brofion rhy amlwg fod newyn yn cyfyngu eu cylla ag sydd etto heb obaith am feddyginiaeth. Wedi eu symbylu ynghyd gan arteithiau newyn, heidia y werin yn nghyd mewn manau yn filoedd, ac ymosodant ar y siopau bwyd, rhuthrant i mewn, a chipiant dorth o fara, neu ryw fwyd a gânt afael arno; ac y mae'r llywodraeth wedi anfon byddin yno i amddiffyn tai, siopau, a bywydau yr uchel-radd, rhag eu lladd a'u dyfetha o flaen llym archwaeth y trancedigion. Nid yw certi y pobwyr na'r cigyddion yn cael tramwy yr heolydd, heb eu hamddiffyn gan filwyr. Mae rhyw rai yn cael eu lladd yno yn feunyddiol, naill ai yn eu tai, ar yr heolydd, neu wrth amddiffyn eu hystor-dai.

Yn ninas Dublin, cerddai dros fil o'r trueiniaid hyn ar hyd yr heolydd, dan yr enw "Y terfysglu newynog;" a'r wledd a gawsant oedd, carcharu dau-ar-hugain gan y milwyr, ac ymlid y lleill ymaith i farw o newyn, neu beidio os gallent.

Yn Tipperary, ofnid y deuai y lluniaeth a fwriadai y llywodraeth eu hanrhegu ag ef, yn rhy ddiweddar i achub bywydau lliaweroedd, gan eu bod yn newynu yn feunyddiol; ac y mae yn anmhosibl weithiau i gael bwyd am arian. O Cork, ysgrifena un parchedig fod un-ar-bymtheg wedi marw o newyn yn ei ardal ef mewn un wythnos—fod yno dros 600 o deuluoedd heb waith nac ymborth, a'r plant yn gystal â'r rhieni yn newynu; ac er gwneyd eu cwpan yn llawn o wermod, mae y tenantiaid yn cael gwerthu eu dodrefn a'u heiddo am y rhent, a'u troi i maes i farw o oerfel, heb braidd un math o wely i orwedd arno, na chysgod drostynt ond y cymylau. Yn y *Poor-house*, yn Dungarvan, mae wyth cant wedi eu gwthio i mewn, a hyny dros ddau cant yn ychwaneg nag yw y ty yn addas i'w gynnwys; etto, pe bai gymmaint bedair gwaith, ni chynnwysai yr ymgeiswyr i ddyfod iddo, er achub eu bywyd. Yn Mayo, mae cynnifer yn marw, fel na ellir cael digon o eirch i'w claddu! Dros un-ar-bymtheg, ebe arall, wedi marw o newyn yn ei blwyf yntau, mewn deng niwrnod. Felly y gallem ddyfynu o'r newyddiaduron o bob cwr o'r Iwerddon, am lawer ychwaneg o farwolaethau drwy newynu, lladdfäau er cael bwyd, a chyflafan ehryslon y march du hwn. Ond yr hyn a ganlyn a ychwanegwn er enghraifft o arteithiau a chnofeydd newyn. Yn Bantry, a'r cylchoedd, yr oedd terfysglu newynog, ac wedi myned mor greulon â lladd amryw a'u gwrthwynebai. Bu y milwyr yn eu hymlid hyd y mynyddoedd, &c., ond i ddim dyben, nes i newyn o'r diwedd orfodi eu blaenoriaid, o un i un, ddyfod i'r dref, a rhoddi eu hunain i fyny i'r *Police*, gan addef nad oeddynt yn dysgwyl dim llai nâ'u crogi, ond y dewisent hyny o flaen y farwolaeth newynllyd a sylla yn eu gwynebau, os arosent yn hwy, a bod pob gobaith am fwyd wedi darfod, ac yna mai marw a raid rywfodd! Yr oeddynt wedi myned i edrych mor deneu a gwael, fel nad adnabyddai eu hen gyfeillion hwy, nes iddynt amlygu eu hunain. Mae heintiau ac amryw glefydau ereill yn tarddu oddiar ddiffyg ymborth, dillad, ac ymgeledd, fel canlyniadau naturiol; ac nid ellir dysgwyl llai yn yr Iwerddon nâ bod llaweroedd yn marw drwy y

cyfryw. I'r pla pytatws, yn fwyaf neillduol, y priodolir y newyn hwn. Dywedir fod diffygiadau ar yr erfin a'r yd, yn enwedig y gwenith, mewn manau. Pwy a ddichon ragweled y canlyniadau pan fetho yr elfenau ereill o'n hymborth waeth-waeth, o flwyddyn bwy gilydd! Pwy a ystyria ac a ddeall hyn? Gwir a ddywed y prophwyd,—"Y drygionus a ânt rhagddynt waeth yn eu drygioni; ond y doethion a ddeallant arwyddion yr amserau, ac a ddyrchafant eu penau mewn gobaith, am fod amser eu hymwared hwy yn agosâu." Nid oes neb yn ystyried mai oherwydd eu gwrthodiad a'u dirmyg o'r march gwyn, y diala y march coch, a'r march du, arnynt; a chyn hir daw y march gwelwlas yntau, yn ei dro, i ladd â chleddyf, ac â newyn, ac â bwystfilod y ddaear.

Mae amryw o fugeiliaid y bobl yn gwadu nad llaw Duw yw hyn oll, ond rhyw ddygwyddiadau ereill a addefant Dduw drwyddynt; a hwy a ymwrolant, nid i chwilio a ydyw seiliau eu credoau yn ddwyfol, ac ar air Duw, ond cymmerant hyny yn ganiataol oddiar draddodiadau eu henafiaid; ac nid yw holl farnau Duw yn effeithiol ond i'w rhwymo yn dynach yn eu rhwydau, a byw yn nes i'w credoau. Yna cyhoeddant ympryd a gweddi, ïe, yr holl groes-grefyddau, fel pe y cymmeradwyai Duw bawb yn eu ffyrdd eu hunain. Da yw gweddio ac ymprydio, yn eu hamser priodol; ond meddyliem mai mwy rhesymol fyddai i'r offeiriaid pabaidd gyhoeddi gwledd nâ chyhoeddi ympryd yn hwy, i'r trueiniaid sydd eisoes yn ymprydio o angenrhaid, nes marw wrth yr ugeiniau!

Ond paham y rhaid son cymmaint am swn y march du, mor bell â'r Iwerddon? Y mae yn nes atom etto! Ydyw; y mae wedi croesi y *channel* eisoes, ac yn carlamu trwy brif drefydd Lloegr, nes merwino ein clustiau â griddfanau eu truenusion, y rhai ydynt yn rhy liosog i'w rhifo. Yr hwn sy'n dal ei awenau a dynhao ei ffrwyn, rhag rhuthro drwyddom ninnau, Gymry, yn anmharod!

---

## BEDYDDIADAU GAN Y SAINT YN MIS IONAWR, 1847.

*Merthyr.*—Bedyddiwyd gan y Saint yn mis Ionawr yn unig, 31. Un am bob dydd!

*Pendaran.*—Yn y gangen hon, nid mor llwyddiannus ag arferol. Bedyddiwyd ond tri y mis diweddaf.

*Dowla's.*—Sef prif ffau tad ein herlidwyr, bedyddiwyd deunaw yn Ionawr, a lluoedd ychwaneg yn credu, ac ar y drws. Yn awr wrth ymchwilio i ni, yn lle camddarluniadau ein herlidwyr, mae y werin yn dyfod i ddechreu deall pwy ydym, a pheth a gredwn. Daw lluoedd etto.

*Caerdyf.*—O dan drwyn y *Bedyddiwr* a'n culliba, bedyddiwyd deg yn mis Ionawr, amryw oddiwrth y Bedyddwyr yno, ac ychwaneg yn addaw ufyddhau yn feunyddiol. Mawr fydd eu bendithion.

*Nant-y-glo.*—Yn y fan hon mae rhyfel poeth wedi bod er's amser gan "grefyddwyr" yn erlid y Saint, crynhoi at eu tai, taflu ceryg at y drysau a'r ffenestri—eu dilyn at y dwfr i fedyddio, dan waeddi a gwawdio, taflu cwn a cheryg, &c., i'r dwfr atynt; rhai yn cael bygwth eu tori maes os ant i wrando, na chyfeillachu â'r Saint; ïe, er eu bod yn berthynasau agos iddynt! Pregethir yn gysson i'w herbyn. Amryw wedi cael eu troi dros y drws am ufyddhau i'r efengyl! Er hyny mae ysbryd eu Duw yn dyddanu ei blant, ac yn chwanegu at eu rhifedi—eu cariad a'u doniau yn rhyfedd. Bedyddiwyd deunaw yno yn Ionawr. Er y cyfan oll, y mae y Cwm fel a'r dân gan awydd am gael y gwir. Buan y cydiont ynddo.

*Cwmbach.*—Bedyddiwyd saith yn mis Ionawr, y rhai ynt yn mawr lawenhau yn eu breintiau.

*Coed-duon.*—Bedyddiwyd pump yr wythnos ddiweddaf, a daw ychwaneg yn fuan.

[Mae amryw ereill heblaw a enwyd, megys Rymni pedwar neu bump, ond ni rifwn nes cael dangoseg o dan-law yr hwn a'u bedyddiodd. Gwyddom fod dros gant o gynnydd mewn mis, ond ni wyddom am enwad arall yn y wlad a'r nad ynt yn lleihau, ar eu haddefiad hwy. Gyda'r Saint y mae Duw.]

## TREFNIADAU Y PREGETHWYR.

Aeth yr henuriad John Morris ar genadiaeth i sir Benfro; yr oedd galwad oddiyno gan wyth o un man a ddymunant gael eu bedyddio.

Symudodd yr henuriad Thomas Pugh, a'r offeiriaid Evan Rees, David Matthews, a Thomas John, o'r Cwmbach i'r Cwm-bychan, a da genym glywed eu bod wedi dechreu cyhoeddi eu cenadwri bwysig yno eisoes. Llwyddiant iddynt.

Mae yr henuriad Hopkin Matthews, wedi ymsymud i Treforis, ac yn pregethu yn y cylchoedd hyny, ac arwyddion gobeithiol am lwyddiant.

Aeth yr henuriad Benjamin Jones i dref Caerfyrddin i fyw, a mawr yw llawenydd yr eglwys yno o'i herwydd. Maent wedi bod dan fwy o anfanteision ac amddifadrwydd nag a fyddant o hyn allan, gobeithiwn. Mae amryw ar fedr ufyddhau yno.

Cychwynodd yr henuriad Abel Evans, ar ei daith drwy'r Gogledd i ymweled â'r eglwysi drwy'r gwahanol siroedd gogleddol.

Ymfudodd yr henuriaid John Phillips a Dafydd Rees, a'u teuluoedd, i'r Cyfyng, ger Ystradgynlais, er mwyn yr efengyl, a'u Duw fo gyda hwynt.

Aeth yr henuriad William Hughes a'i deulu i fyw ger Llanelli, sir Gaerfyrddin, er mwyn pregethu yr efengyl yn y cylchoedd hyny.

Aeth yr henuriad William Henshaw i arolygu cynnadledd Garaway.

Aeth yr henuriad Jacob Watkins, a'r offeiriad John Carver, gydag ef yno.

Aeth yr henuriad William Evans, Dyewyd, i Pontypridd, ac ereill gydag ef; ac y mae yr efengyl yn cael ei phregethu yno yn wythnosol.

Mae yr henuriad Ebenezer Morris ar symud i Llantrisant yn fuan; ac y mae amryw bregethwyr, heblaw a enwyd, yn darparu i symud i fanau ereill yn fuan er gallu hau yr hâd da yn helaethach.

Yn y lleoedd a nodwyd, a llawer o fanau ereill mae miloedd o eneidiau anfarwol na chlywsant air am yr efengyl dragywyddol, ond chwedlau disail pregethwyr, ac awduron sectaraidd yn ei herbyn; ac y mae tuhwnt i ddadl fod yn mhob man rai gonest eu hegwyddor, o ddymuniad daionus, ac a gofleidiant yr efengyl mor gynted y caffont gyfleusdra.

Frodyr anwyl, gan mai i ni yr ymddiriedwyd y trysor hwn mewn llestri mor wael, ymddiriedwn yn ei roddwr, byddwn ffyddlon, ac efe a gorona ein llafur â llwyddiant; ond gwae ni os goruchwylwyr dioglyd a fyddwn. Daw y cyfrif ar fyr. Dymuna y brodyr uchod am ran yn ngweddiau y Saint, a dywedwn oll Amen.

---

## CYNNWYSIAD.




MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

JOHN JONES, ARGRAFFYDD, RHYDYBONT.

# PROPHWYD Y JUBILI,

NEU

# SEREN Y SAINT.

RHIF. 9.] MAWRTH, 1847. [PRIS 2*g*.

## CATECISM I ATHROFEYDD Y "*PEIRCH.*"

BETH yw yr *Efengyl?*—Cynllun Duw i achub dyn.

Pa sawl cynllun, neu efengyl, sydd gan Dduw i achub dynion?—Yr un nifer ag a anfonodd o Gristiau i'r byd i'w trefnu, sef *un*; ac y mae yr un hòno mor gywrain, cyflawn, a pherffaith, drwyddi oll, nes y mae yn addas i bawb yn mhob oes a gwlad, heb gyfnewid drwy leihau na mwyhau un iot na thipyn o honi.

Beth yw yr egwyddor gyntaf yn yr efengyl?—Coelio fod ei Hawdwr hi yn eirwir, wedi ei groeshoelio, a'i adgyfodi.

Beth yw yr ail ddyledswydd ar ddyn?—Ymgyfammodi â Duw, yr ufyddha i'w orchymynion y cyfleustra cyntaf a gaffo, ac yr ymdrecha ymwrthod â'r drwg, a rhyngu ei fodd ef.

Beth yw y trydydd peth?—Myned gydag un o bregethwyr Saint y Dyddiau Diweddaf, yn gymhwys i'r dwfr cyntaf a gaffo, a chymmeryd ei fedyddio ynddo "*er maddeuant pechodau.*"

Beth yw y pedwarydd peth?—Derbyn yr Ysbryd Glân drwy arddodiad dwylaw henuriaid yr eglwys, megys yn nyddiau yr Apostolion. Y neb a wnelo yr holl bethau hyn oddiar iawn egwyddor, a fyddant yn Saint, neu blant i Dduw, drwy efengyl Crist Iesu; ac os parhant yn y ffurf o'r athrawiaeth iachus hon, hwy a gânt deyrnasu gyda'u Prynwr, Crist Iesu, ar y ddaear adferedig, mewn gwynfyd, heb byth farw mwy.

A ddichon y pechadur gwaethaf ufyddhau i'r holl ammodau yna cyn gynted ag y deallir hwynt, heb gymhorth Ysbryd Duw?—Sicr iawn, onide bydd byth heb ufyddhau iddynt, canys ni addawodd Duw ei Ysbryd i helpu pechadur i gredu mai Iesu yw y Crist, nac i edifarhau, na cherdded i'r dwfr, canys rhoddodd *dystiolaeth* drwy ei weision a rheswm i farnu y cyntaf, galluoedd naturiol i'r ail, a thraed i ufyddhau i'r trydydd, &c. Yna, ni all ddysgwyl i Dduw gredu, edifarhau, a chael ei fedyddio drosto ef, na'i orfodi yntau i wneuthur hyny. *Ar ol* cael maddeuant y rhoddodd Pedr hyd y nod addewid o Ysbryd Duw. Gwel Act. 11, 38, viii. 15—17. xix. 5, 6.

A ydyw o ryw lesâd i weddio ar i Dduw eu hargyhoeddi, a rhoddi iddynt, tra y gwrthodant ufyddhau i'r efengyl ?—Nac ydyw, o un gronyn. Yn ofer y gwaeddant Arglwydd, Arglwydd, heb ufyddhau i'w orchymynion ef. Nid pob un [na neb] a'r sydd yn dywedyd, Arglwydd! Arglwydd! a ddaw i mewn i deyrnas Dduw, ond yr hwn sydd yn gwneuthur ei ewyllys ef. Yn ofer y ceisiant ei addoli ef, drwy ddysgu am *athrawiaeth* orchymynion dynion. Geilw Duw ar ddyn ato ef, ond galw ar Dduw i ddyfod atom, ac i'n trefn ni, fyddai hyny! Pa un o'r ddau sydd iawn!

Onid yw yn ofynol i'r Arglwydd wneuthur rhywbeth amgen nag a wnaeth cyn y gallwn ddyfod ?—Nac ydyw, onide arno ef y mae y bai am na wnai y *peth* hwnw, ac yntau yn dewis ein hachub. Pa beth ychwaneg a ddichon wneyd ? Os rhywbeth, yna barna ei hun, ac nid nyni, y dydd a ddaw.

Onid yw Paul yn dweyd yn Eph. 2, 8,—" Trwy râs yr ydych yn gadwedig, trwy ffydd; a hyny nid o honoch eich hunain: rhodd Duw *ydyw ?*"—Gwir i gyd, ac yn profi fod cadwedigaeth dyn yn dibynu ar ei ffydd ei hun i gredu y drefn i gadw, sef yr efengyl, yr hon a roddwyd drwy ras Duw i ddynion. Y *rhodd* yw ei Fab, ac nid ffydd.

A ydych yn dweyd y dichon holl bechaduriaid Cymru ufyddhau i'r efengyl cyn gynted ag y clywant ei phregethu yn ddealladwy, a chael eu mabwysiadu felly yn blant i Dduw ?—Mae mwy nâ ni yn sicrhau hyny, sef Duw. " Trowch eich wynebau ataf fi, [sef drwy ufyddhau i'r efengyl] holl gyrau y ddaear, fel y'ch achuber."—Duw. " Deuwch ataf fi *bawb* a'r sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythaf arnoch."—Iesu Grist. Wel, dyna ddigon, dyred yn awr, ynte!

Gan mai fel hyn y mae, beth a ddywedai gwas i Dduw wrth syllu ar y gorfoleddu, a'r gwaeddi am grefydd sydd yn y cyfarfodydd sectaraidd ? —Dywedai fel y dywedodd Ananias wrth Saul o Tarsus,—" Ac yr *awrhon*, beth yr wyt ti yn ei aros ? cyfod, *bedyddier* di, a golch ymaith dy bechodau, gan alw ar enw yr Arglwydd."

Ac yna, os na ufyddhaent beth fyddai y canlyniad ?—Dywedai, mai " yr hwn sy'n dywedyd ei fod yn caru Duw ac heb gadw ei orchymynion ef, o'r celwydd y mae, a'r gwirionedd nid yw ynddo." Hefyd, " yr hwn a wybu feddwl ei Arglwydd, ac nis gwnaeth, a gurir â llawer o wialenodiau."

Onid yw'n bosibl iddynt gael crefydd drwy weddio mor daer am dani ? —Ar eirwiredd Crist, nid ei grefydd ef a gaiff neb oherwydd eu hamleiriau, a'u rhith o hir weddiau, yn awr fwy nâ chynt. Ie, pe gweddient mor hired ac amled â'r ysgrifenyddion, neu y pedwar cant hyny o brophwydi Baal.

Oni ddywedodd yr Apostol wrth geidwad y carchar " cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig a fyddi, ti a'th deulu ?"—Do, dywedodd mai credu yw y cam cyntaf, ond nid yr unig beth; ond efe Paul " a draethodd iddo air yr Arglwydd, &c.," a gwel beth yw y gair hwnw yn Marc xvi. 16. Yna gwel ei ufydd-dod cyn goleu dydd dranoeth; y fath bwys a osododd Paul ar y bedydd fel na feiddiai oedi yn hwy. Gwnaed pawb felly.

Beth fuasai y canlyniad pe gwrthodasai gymmeryd ei fedyddio ar ol credu ?—Buasai yn waeth nag o'r blaen, yn gymmaint a bod yr efengyl

# PROPHWYD Y JUBILI,

NEU

# SEREN Y SAINT.

RHIF. 9.] MAWRTH, 1847. [PRIS 2g.

## CATECISM I ATHROFEYDD Y "*PEIRCH.*"

BETH yw yr *Efengyl?*—Cynllun Duw i achub dyn.

Pa sawl cynllun, neu efengyl, sydd gan Dduw i achub dynion?—Yr un nifer ag a anfonodd o Gristiau i'r byd i'w trefnu, sef *un*; ac y mae yr un hòno mor gywrain, cyflawn, a pherffaith, drwyddi oll, nes y mae yn addas i bawb yn mhob oes a gwlad, heb gyfnewid drwy leihau na mwyhau un iot na thipyn o honi.

Beth yw yr egwyddor gyntaf yn yr efengyl?—Coelio fod ei Hawdwr hi yn eirwir, wedi ei groeshoelio, a'i adgyfodi.

Beth yw yr ail ddyledswydd ar ddyn?—Ymgyfamnodi â Duw, yr ufyddha i'w orchymynion y cyfleustra cyntaf a gaffo, ac yr ymdrecha ymwrthod â'r drwg, a rhyngu ei fodd ef.

Beth yw y trydydd peth?—Myned gydag un o bregethwyr Saint y Dyddiau Diweddaf, yn gymhwys i'r dwfr cyntaf a gaffo, a chymmeryd ei fedyddio ynddo "*er maddeuant pechodau.*"

Beth yw y pedwarydd peth?—Derbyn yr Ysbryd Glân drwy arddodiad dwylaw henuriaid yr eglwys, megys yn nyddiau yr Apostolion. Y neb a wnelo yr holl bethau hyn oddiar iawn egwyddor, a fyddant yn Saint, neu blant i Dduw, drwy efengyl Crist Iesu; ac os parhant yn y ffurf o'r athrawiaeth iachus hon, hwy a gânt deyrnasu gyda'u Prynwr, Crist Iesu, ar y ddaear adferedig, mewn gwynfyd, heb byth farw mwy.

A ddichon y pechadur gwaethaf ufyddhau i'r holl ammodau yna cyn gynted ag y deallir hwynt, heb gymhorth Ysbryd Duw?—Sicr iawn, onide bydd byth heb ufyddhau iddynt, canys ni addawodd Duw ei Ysbryd i helpu pechadur i gredu mai Iesu yw y Crist, nac i edifarhau, na cherdded i'r dwfr, canys rhoddodd *dystiolaeth* drwy ei weision a rheswm i farnu y cyntaf, galluoedd naturiol i'r ail, a thraed i ufyddhau i'r trydydd, &c. Yna, ni all ddysgwyl i Dduw gredu, edifarhau, a chael ei fedyddio drosto ef, na'i orfodi yntau i wneuthur hyny. *Ar ol* cael maddeuant y rhoddodd Pedr hyd y nod addewid o Ysbryd Duw. Gwel Act. ii. 38, viii. 15—17. xix. 5, 6.

"yn arogl o fywyd i fywyd, neu o farwolaeth i farwolaeth, i bob un a'i clywo."

Oni ddywed Paul, "Mai os cyffesu â'th enau yr Arglwydd Iesu, a chredu yn dy galon i Dduw ei gyfodi ef o feirw, cadwedig a fyddi?"—Do siwr, ac felly yr oedd yr eglwys yr ysgrifenai Paul atynt, sef y Rhufeiniaid; canys yr oeddynt wedi cael eu bedyddio eisoes ar eu derbyniad i'r eglwys, ac onide ni ddywedasai Paul felly wrthynt hwy, ac fel arall wrth rai ereill.

Os yw bedydd yn anhebgorol er cael maddeuant, paham y diolcha Paul na fedyddiasai efe nemawr o'r Corinthiaid?—Os coelir ef ei hun. dywed yn yr adn. ganlynol mai, "Fel na ddywedo neb fedyddio o honof fi yn fy enw fy hun."

Oni ddywed, "Ni anfonodd Crist fi i fedyddio. ond i efengylu?"—Do, a dywed fod ereill yn *dyfrhau* y rhai a blanodd efe. Drwy efengylu gosodai y sail i'w ffydd weithredu, ond gofalai ar fod ereill yn goruwchadeiladu.

Oni dderbyniodd Cornelius yr Ysbryd Glân cyn ei fedyddio?—Do, er dileu canolfur y gwahaniaeth oedd rhwng Iuddewon a Chenedloedd, fel y caffai y cyntaf hwn o'r rhai olaf ufyddhau i'r efengyl. Eithriad o eiddo Duw oedd hwn. Nid oedd *addewid* iddo o hyny, nac i neb arall, gynt nac wed'yn. Ond er hyny, nid oedd ei bechodau wedi eu maddeu drwy hyny, nac yn gwneuthur bedydd yn afreidiol; canys wedi hyny gorchmyna Pedr eu bedyddio hwynt er maddeuant, a'u derbyn i'r eglwys.

Oni achubwyd y "lleidr ar y groes" heb ei fedyddio?—Os do, gwnaed hyny nid drwy yr efengyl, ond i'r graddau cyferbyniol ag i'r paganiaid diddeddf, y rhai ydynt ddeddf iddynt eu hunain, ac yn esgusodol oherwydd anghyfleusdra. Heblaw hyn, nid oedd y commissiwn hwnw. "y neb a gredo *ac a fedyddier* a fydd cadwedig," wedi ei roddi y pryd hyny; ac etto, anghenrhaid profi mai yr un lle yw "Paradwys" â'r nefoedd cyn y profir cadwedigaeth y "lleidr," yr hyn sydd yn dasg anorphen!

[*I'w barhau.*]

---

## DYLEDSWYDDAU OFFEIRIAD.

"DYLEDSWYDDAU offeiriad ydynt—pregethu, dysgu, annog a bedyddio; hefyd gweinyddu y *sacrament*, ac ymweled â'r aelodau yn eu tai,—eu hannog i weddio yn gyhoeddus ac yn y dirgel, ac i gyflawni pob dyledswydd deuluaidd: mae ganddo hawl i ordeinio offeiriaid, dysgawdwyr a diaconiaid. Mae efe i lywyddu yn mhob cwrdd, yn absenoldeb henuriaid; ond pan y byddo *henuriad* yn bresennol. efe sydd i flaenori, a'r llall i'w gynnorthwyo, trwy gyflawni y dyledswyddau ereill a nodwyd."—Cyfeithiedig o'r *Ath.* a'r *Cyf.*

Un or swyddi a berthyna i'r offeiriadaeth iselaf, sef yr Aaronaidd, yw hon, ac mor anhebgorol, defnyddiol, a gogoneddus yn ei lle ac i'w dyben priodol ag un swydd arall. Amheua pob enwad a wyddom yr anghenrheidrwydd o'r swydd hon yn yr eglwys yn awr, ond yr "eglwys sefydledig," ac nid y'm yn gallu cyd-weled â hwythau o barthed i'r gosodiad yn y cymhwysderau gofynol, na'r dyledswyddau perthynol i'r swydd hon mwy nag yn y canlyniadau o honi. Nid rhyfedd fod y rhai a wad-

ant swyddau fel apostoliaeth, prophwydi, &c., ynghyd â'r ordinhadau perthynol iddynt yn gwadu hon hefyd; ond, am danom ni, diolchwn i'r ffynnonell o oleuni nad y'm wedi ein gorchuddio gan y fath gaddug; hawddach credu yr angen presennol am bob "rhoddion" a osododd y pen perffeithydd yn ei beiriant perffeithiawl, sef ei eglwys, hyd oni atebont y dyben, sef, i berffeithio y Saint,—Eph. iv, 4—14, hyd oni bydd yr olaf o honynt wedi ei berffeithio. Mae genym dystiolaeth gadarn angylion y nefoedd am fodolaeth y swydd hon yn ei deyrnas ef ar y ddaear,—Dat. i, 6, v, 10; "Ac yn offeiriaid; ac ni a deyrnaswn ar y *ddaear.*" Cyflawnir hyn yr amser dyfodol, wrth gwrs, a chan na feddiana neb pryd hyny ond y swyddau a feddent ac a gyflawnasant yn y fuchedd hon, a chan y derbynia pob un yn ol y gweithredoedd a wnaethant yn y corff, pa fodd y dichon neb uno a'u phiolau aur yn y *corus* clodfawr hwn a fu ar ol yr apostolion, os nad oes y fath swydd iddynt i'w hennill a'i chyflawni. Nid yn, ond *o flaen* dyfodiad y priodfab yr ymdrwsia y briodferch, "canys y wraig a *wnaeth* ei hun yn barod," a ddywedir y dydd hwnw. Felly y bydd eglwys Crist wedi ei rheoleiddio yn berffaith ar ei chynllun cyntefig, ac o ganlyniad yn meddu y swydd hon a phob swydd arall a fu, neu a fydd byth ynddi, ond un, *cyn* y del ei hunan i lanw hono. Nid yw bodolaeth y swydd hon yn arddangos fel y meddylia rhai, fod eisiau aberthu fel y gorchymynai cyfraith Moses, oherwydd mae y cysgodau wedi eu llyncu gan ddyfodiad y sylwedd mawr ei hun. Mae hawl gan y swydd hon i arddodi dwylaw ar y cleifion, gan waeddu ar Dduw eu hiachau, fel y gwnaeth Phillip â'r Samariaid gynt, ond nid i weinyddu yr ordinhad o "eneinio ag olew yn enw yr Arglwydd," nac i arddodi dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân, yn awr ddim mwy nac y gwnaeth Phillip a'r Samariaid; gwel Act. viii; nac ar Eunuch hwnw; perthyna gweinyddu y ddwy ordinhad hyn i offeiriadaeth Melchisedec, sef o'r henuriaid, ac uwch. Iago v, 14.

Er fod gan offeiriad hawl i ordeinio o'i gydswydd i wared, etto nid doeth na rheolaidd iddo alw ac ordeinio ereill tra y byddo henuriad yn gyrhaeddadwy: nac i'r naill na'r llall, wneyd y naill na'r llall heb ei osod o flaen yr eglwys, ac os bydd rhwystrau yno, dyger y mater i'r cynghor. Llywydd y gangen sydd i ofalu dros hyn, ac yn y cynghor, neu'r gymmanfa, y dylid ei gymmeradwyo o leiaf, os bydd amgylchiadau yn galw am eu gwasanaeth cyn hyny, a'r arweinydd dwyfol yn tywys i hyny. Er iawn drefn a rhwystro i'r Saint gael eu twyllo yn Nghymru fel y cawsant mewn gwledydd ereill, drwy i ddynion drwg ffugio y swydd hon, argraffwyd tocynau perthynol iddi, ac na dderbynier neb anadnabyddus heb y ddanghoseg hon yn rheolaidd.

Yn ddiweddaf, frodyr hoff, cofiwch gynghor eich blaenor Paul, pregethwch y gair, byddwch daer mewn amser, allan o amser; argyhoeddwch, annogwch gyda phob hir ymaros ac athrawiaeth—ystyriwch bwysfawrogrwydd eich swydd—ymdrechwch am fod wedi eich gorwisgo ag ysbryd eich swydd fel y coroner eich llafur a llwyddiant, ac y caffoch chwi â'r rhai a wrandawant arnoch fynedfa i wynfyd tragwyddol.

---

## Y WASG AMERICANAIDD YN TROI O BLAID Y SAINT.

DYFYNWYD a ganlyn o'r "*New York Sun.*" Bu y cyhoeddiad hwn fel llawer ereill yn ddiwyd iawn i gyhoeddi cam-gyhuddiadau ar y

Saint am flynyddau ; a dylanwadu ar ereill i adleisio gohebiaethau gelynion, gormeswyr, yspeilwyr a mwrddwyr y Saint, y rhai trwy hyny a amcanent daflu cochl tros eu gweithredoedd anynol eu hunain ar gost y diniwed, ac atebodd y dyben yn rhyfedd, nes alltudio miloedd lawer o blant Duw i blith anwariaid a bwystfilod yr anialwch gorllewinol ; ond buan y daeth gweithredoedd y tywyllwch i oleu yr haul. Desgrifia Esaia y bobl hyn fel y canlyn :—" Gwae y rhai a ddyfngeisiant i guddio eu cynghor oddiwrth yr Arglwydd, ac y mae eu gweithredoedd yn y tywyllwch, ac a ddywedant pwy a'n gwel ni ? a phwy a'n hedwyn ?" Y golygydd hwn a gyhoeddodd y llythyr hwnw a gyfeithwyd, a gyhoeddwyd am newyddion da yn y " *Bedyddiwr*," sef yr hwn a broffesai fod wedi ei gyfansoddi gan Emma Smith, gweddw Joseph Smith, yn rhoddi sarhad mawr ar ei gwr ei hun, a'r athrawiaeth yr addefa iddo ei sêlio a'i waed. Ond er fod y llythyr hwnw yn cario ei wrth-brofion ynddo ei hun, etto hysbyswn mai ffug oedd pob sill o hono, nad oedd gan y Mrs. Smith hòno un llaw ynddo, na gwybodaeth am dano, nes iddi ei ddarllen yn y papur hwnw, ac yna rhoddodd gyfraith ar ei awdwr ; cafwyd dedryd am gabldraeth i'w erbyn, a swm mawr o iawn i'r dyoddefydd. Ond pa un a fydd golygydd y " *Bedyddiwr*," a'r awduron ereill yn Nghymru, mor onest, mor ddynol a chyfiawn, a'r golygyddion Americanaidd, i ddadwneyd y drwg a wnaethant pan gaffo yr ail feddwl ei le, a rheswm a gwirionedd ei ddangos iddynt, sydd yn mhlith y pethau a fydd, ïe, ac a fydd naill ai yn eu derchafu ar y pinacl o fawredd awdurol, neu un " hoel ychwanegol yn eu heirch.

" Mae rhyw gyffroad a chydymdeimlad rhyfedd yn ennill tir o blaid y Mormoniaid, drwy ein gwlad. Creodd neillduolrwydd eu daliadau, tarddiad rhyfedd eu ffydd, a gwreiddioldeb y personau a ddewiswyd yn brophwydi, ac yn llywyddion iddynt, ynghyd a'r llyfrau, &c., a gyhoeddwyd i'w herbyn, ddylanwad ar boblogrwydd yr oes i'w herbyn am flynyddau. Desgrifid hwynt fel yn ddiysgog mewn arferiadau gwarthus, ac y mae yn rhyfeddod fawr na wrthwynebodd y Mormoniaid nemawr ar y cyhuddiadau hyny [do, meddwn ni, canys gwyddom iddynt wneyd a allent i hyny, a gwyddom hefyd mai tra y byddai y gwir yn goleu ei fatchen, y rhoi celwydd y byd yn wenfflam, ac y teflid ein hamddiffyniadau ninnau yno ; nid i golofnau y newyddion, ond fel yn Nghymru, i'r tu ol i'r tân heb eu darllen]. Pan ruthrodd terfysglu creulon i garchar Carthage, a lladd Joe Smith, a'i frawd Hyram, tarawodd y weithred ysgeler y wlad a syndod am ysbaid, ond anghofiwyd hyny yn fuan. Wedi hyny crynhöodd terfysglu yn nhalaith Illinois, dan yr enw Gwrth-Formoniaid, i'r dyben o'u halltudio o'u gwlad, a'u gorfodi i adael eu tyddynod, eu tai, a'u holl feddiannau, ynghyd â'r deml gostfawr a adeiladasant yn ysglyfaeth i'w herlidwyr. I'r dyben hyn crynhoisant eu magnelau, a'u harfau rhyfel yn erbyn Nauvoo. Tynodd sefyllfa y Mormoniaid sylw taleithiau ereill, ond gan na roddodd Illinois, eu talaith eu hun, un cynnorthwy nac amddiffyniad iddynt, ond yn hytrach cymmeradwyo trais yr erlidwyr ; credid fod eu cymmeriad mor ddrwg ag i deilyngu y driniaeth a gawsant, a'u halltudiaeth i chwilio am drigfan yn rhyw wlad arall [Pa ddrygioni a allasent gyflawni er teilyngu alltudiaeth o'r werin lywod-

raeth, tybed?] Amddiffynodd y Mormoniaid eu cartrefleoedd oreu a allent, hyd nes eu gorthrechwyd gan amlder y terfysgwyr, y dalaith yn eu herbyn, a phoblogrwydd y wlad; a phan nad oedd iddynt gymhorth, nac amddiffyniad o un man, dywedasant, 'Nyni a awn,' a hwy a aethant i'r anialwch, yn wyr, gwragedd, a phlant; rhai a'r draed, rhai mewn pedrolfeni, a chyda hwynt y gweddill o'u celfi, a gadael eu cartrefleoedd, a ffoi i'r anialwch. Ymunodd rhai [500] a'r fyddin oedd yn myned i California, rhan arall a aethant i'r gorllewin, i afon Mississippi. Ac fel hyn gyrwyd 12,000, neu 15,000 o bobl, o sefyllfa gysurus a llwyddiannus o'u cartrefleoedd i orwedd ar lanau afonydd afiachus, neu i ymdaro oreu a allent ag anwariaid a bwystfilod, hyd *prairies* eang y gorllewin. Ond erbyn hyn, ymddengys ddigon eglur oddiwrth dystiolaethau amrywiol sydd yn deilwng o'u crediniaeth—rhai ydynt yn adnabyddus o'r Mormoniaid, wedi sylwi yn fanwl, a threiddio i'w bucheddau, a'u hymddygiadau, fod y bobl anffortunus hyny wedi dioddef anghyfiawnder mawr drwy gael eu gormesu felly, eu hyspeilio, a'u gadael yn hollol ddiamddiffyn gan dalaith annibynol, yr hon oedd wedi ymrwymo i'w hamddiffyn yn eu hiawnderau. Tystia y diweddar Cadben Allen o'r *U. S. Dragoons*, yr hwn oedd ganddo 500 o'r Saint yn ei fyddin, eu bod hwy oll, nid yn unig yn ysbrydol a dewr, yn bobl ddaionus a ffyddlon, ond desgrifia hwynt yn rhyfeddol o bur a dieithriad mewn moesoldeb; yn gynil, gofalus, diwyd, a hunan ymwadol; yn dangos amynedd dewrwych mewn dyoddefiadau teilwng o'r goreu o gymmeriad Cristionogol. Etto, ysgrifena un o ohebwyr teilyngaf yr '*U. S. Gazette*,' yr hwn a fu yn cyd-deithio, ac yn byw yn mhlith y Mormoniaid, fod diweirdeb, rhinwedd, a chariad, yn nghyd ag ysbryd undeb, ymdrech at ddedwyddwch teuluaidd, yn cyfansoddi nodweddau pendant yn nghymmeriad y bobl wrthodedig hyn, yn ogystal a'u cymmedroldeb, trefneiddiwch, diwydrwydd, gwroldeb, a phenderfyniad diysgog am wrthrychau eu serch. Os felly, mae geiriau yn analluog i ddesgrifio yr anghyfiawnder a'r creulonderau digyffelyb a ddioddefasant yn nhalaeth *Illinois*. Gellir esgusodi y creulonderau a ddioddefodd y Goths a'r Vandals, i raddau, ac am erledigaethau yr oesoedd tywyll; ond fod gwlad rydd fel America yn y dyddiau goleu hyn yn mhlith ei holl sefydliadau i sicrhau rhyddid i'w deiliaid, yn alltudio tua 15,000 [dros dri chymmaint] o'u deiliaid, heb eu profi yn euog o un trosedd, trwy rym arfau, o'u cartrefleoedd, a'u meddiannau, a bod baich gref y dalaeth heb ei hestyn i'w hamddiffyn, sydd waradwydd ar ein hanesiaeth â'n gwlad, a gymmerth flynyddoedd maith i'w olchi ymaith. Mae yn ddigyffelyb yn hanes ein gwlad. Ac nid hyn yw'r gwaethaf o'r hanes, ychwaith, *terfysgoedd, meddwdod, a throseddiadau, yw canlyniadau buddygoliaeth y gwrth Formoniaid!* Corff afreolaidd o bobl wedi treisio holl eiddo y Mormoniaid, meddiannu eu tyddynod, anurddo eu teml, a'r tylodion, y cleifion, a'r oedranus fel y plant diniwed wedi eu gyru yn hanner newynog i'r goedwig, a'u holl amddiffynfeydd, bywioliaeth, wedi eu handwyo a'u tori ymaith."

"Ar eirwiredd tystiolaethau cryfion am sefyllfa a chymmeriad y Mormoniaid, mae talaeth Illinois yn rhwym gan ei *honour* a'i chyfreithiau ei hun i adferyd y dioddefwyr diniwed hyn i'w cartrefleoedd,

eu meddiannau, a'u hiawnderau, a dylai y llywodraeth er mwyn cyfiawnder a dynoliaeth—er mwyn cymmeriad eu talaeth, a'u sefydliadau, gyfarwyddo eu llywydd i gyhoeddi anerchiad i wahodd y Mormoniaid yn ol i'w cartrefleoedd, a sicrhau iddynt amddiffyniad rhag pob ymosodiad arnynt. Maent yn awr drwy anghyfiawnder y dalaeth yn marw o newyn ac oerfel yn yr anialwch; neu yn ysglyfaeth i'r anwariaid a'r bwystfilod. Mae lluoedd o honynt yn awr yn gorwedd ar y ddaear ar lan afon Mississippi, ar gyfer y ddinas a adeiladasant drwy ddiwidrwydd, ac yn awr yn gweled y cyfan yn mwyniant y fath waethaf o ladron. Deffroed Illinois i'r gwaith da hwn cyn y byddo poblogrwydd yr holl wlad yn *demando* i'r Mormoniaid gyfiawnder am yr hyn aeth heibio, ac amddiffyniad am yr amser dyfodol."—(Allan o'r *New York Sun.)*

Teimlwn yn dra diolchgar i'r golygydd hwn am ei gydymdeimlad o'r diwedd â'r bobl y bu efe yn eu herlid, a'u camgyhuddo, a thrwy hyny yn helpu a'i ddyferion i lanw y celwrn, nes esgor ar eu ffrwythau naturiol, sef creulondeb a difrod, ond gwell hwyr na hwyrach er mwyn eu cymmeriad, a'u crefydd, ac er mwyn eneidiau y gweddill a chwiliant am y gwir iddo alw yn ol y rhwystrau, a phwy a all ddweyd y fath lawenydd a feddiannasai yn awr ped ymchwiliasai i'r pethau hyny cyn eu cyhoeddi! Ond teimlem yn dra diolchgar i olygyddion y *Bedyddiwr*, *y Seren*, *y Drysorfa*, *yr Amserau*, ac awduron ein gwlad ein hun hefyd, pe byddent hwythau mor feddylgar ag ystyried pa ddefnydd a wnant o'u dylanwad, a bod mor onest o blaid y gwir a'r Americaniaid, ac adolygu yr ystoriau anwireddus a niweidiol a gyhoeddasant, dan hanner eu credu efallai, dan yr *infatuation* lifeiriawl. Gwelant y canlyniadau o'r fath ymddygiad yno mewn drych, darllenant am y cyffelyb yn y cyn oesoedd, ac os parhant hwy i chwythu y gwreichion nes enyn yn fflam angerddol yn Nghymru, ofer iddynt dosturio wrth waed eu lladdedigion pan yn dioddef, ond y canlyniadau naturiol o'u herledigaeth ddiachos hwynt. O na, bydd rhy ddiweddar i waeddi *hold!* digon! pryd hyny, ac nad oeddent yn meddwl, nac yn amcanu achosi y fath beth; ni thâl y fath esgus, hwy a ddelir yn gyfrifol gan Farnwr yr holl ddaear, a "Brenin y Saint."

Diolcha y Saint i'w cynhaliwr nad y'nt yn dyoddef mor dost a'r darluniad uchod, er na fuasai i ereill ond dysgwyliad anocheladwy. A thra y mae cydymdeimlad drwy'r byd at eu gorthrymedigion, ac am drueiniaid newynog yr Iwerddon a'r cyfandir dwyreiniol, a phawb ganddynt noddfau a lle i roi eu pennau i lawr i orphwys ar fynwesau tirion rhyw gydymdeimlwyr, a gaiff "rhai rhagorol y ddaear," "Saint y Goruchaf, y rhai a ymwadasant a phob peth, ac a gysegrasant eu hunain a'u holl er lles y byd; a ddioddefasant bwys a gwres y dydd i adeiladu teyrnas yr Immanuel, yn ddinas noddfa i bawb a ddel: a gaiff y dewrion hyn ddioddef y cyfan, eu hysbeilio oll am dystiolaeth yr Iesu, a gair Duw, heb gydymdeimlad yn y wlad hon; a ddichon Cymru droi clust fyddar at y fath alwad—a yw yn bosibl y gall un Cymro beidio a chyfranu rhyw gymmaint er diwallu eu heisieu? O na, gobeithiwn os oes un galon mor iraidd a hyny, nad calon y darllenydd yw hono. Am y Saint, nid rhaid dweyd nemawr wrthych chwi, ond eich hysbysu am yr anghen am gynnorthwy. Penderfynodd

y Cynghor yn Merthyr, fod Llywydd pob canghen drwy Gymru i egluro y peth hyn o flaen y Saint, ac anfon yr hyn a gasglir yma i Ferthyr, bob mis, fel yr anfoner y cyfan yn ol y cyfarwyddyd a gawsom gan y brawd Orson Hyde. Yn mlaen yr aiff y Saint nes cyrhaedd pen eu taith, a gwyddoch chwi mai rhagredegwyr i ninnau y'nt i ddarparu ar ein cyfer pan yr ad-delir ar ei ganfed am bob cymhorth ag estynwch i'ch brodyr a'ch chwiorydd yn yr Arglwydd, ïe, yn y bywyd hwn, ac amser byr â'i prawf; ac yn eiriau diweddaf ein hanwyl frawd Hyde cyn ymadael a mi, dywedaf, "Yr Arglwydd fendithia yr hwn a ystyria y galwad hwn." Amen, meddwn ninnau, a'n holl galon.

---

## ARWYDDION YR AMSERAU.

Mae lliaws yr saethau hyn yn parhau i redeg drwy'r byd, yn amrywio a chynlliosogi fel y mae y byd yn addefu, a'r amser yn agosau. Mae goruwchwyliaethau yr hwn sy'n dal tynghed teyrnasoedd yn ei law yn profi geirwiredd ei weision mor uchel a swn taranau,—mor gyffredinol a goleu yr haul, ac mor agos at filoedd ag yw y teimlad at y galon, ac er hyn oll nid oedd nemawr yn ystyried nac yn gosod y peth at eu calon, gan gydnabod pwy sydd wrth y lliw.

Hysbysa newyddion yr Iwerddon ni fod y newyn, ac o ganlyniad y trueni, a'r marwolaethau yn cynnyddu yn feunyddiol, "hyd y mynydau hyn (ebe un) mae newyn, clefydau, a heintiau, yn cynnyddu ar bob llaw; ac hyd y nod yn y parthau gogleddol. Mae eu cyflwr yn gwaethygu yn feunyddiol. Mae *workhouses* Bedfort, a Omagh wedi eu gorlenwi â thylodion. Ac y mae cardota a lladrata yn lliosogi hyd y nod yn y manau oeddynt yn rhydd o'r bron oddiwrthynt. O bob cwr o'n gwlad y newyddion galarus a glywir am farwolaethau drwy newyn, rhy liosog i'w nodi." Dywed y *Cork Examiner*, fod "pedwar ar ddeg wedi marw o newyn yn Bantry, y dydd heddyw." Etto, ebe y *Southern Reporter*. "Mae ein dyledswydd i gyhoeddi y marwolaethau drwy newyn wedi cynnyddu mor fawr, a'r fath liaws yn ein cyrhaidd yn feunyddiol, fel y mae erbyn hyn yn ormod gorchwyl i ni eu cyhoeddi na chael lle iddynt yn ein colofnau. Anfona ein gohebydd hanes 15eg a fuont feirw yn Bantry, ddoe o newyn, a dywed fod 20ain ychwaneg wedi marw yn yr wythnos hon; maent rhy liosog i ddala *inquests* arnynt. Clywsom heddyw am *inquests* ar 11eg yn Mallow, a fuont feirw o newyn. Dylifa yr hysbysiadau galarus i'n swyddfa o bob cwr, fel na allwn gyhoeddi y degfed o honynt. Yn ol cyfrif y Police, mae dros 50,000 wedi marw o newyn eisoes, heblaw llawer na wyddent hwy." Ac yn wir, felly yr addefwn ninnau, na fedd ein cyhoeddiad bychan le i'r newyddion galarus a glywsom, a welwn, ac a ddarllenwn yn feunyddiol, canys amlwg yw, nad yn yr Iwerddon yn unig, er yn flaenaf yn y dioddefiadau torcalonus, ond mae y clwyf yn croesi y moroedd—yn rhuthro drwy'r cyfandir, a miloedd lawer yn teimlo ei arteithiau yn Ffrainc, yr Hispaen, Germany, Austria, Prussia, a Russia, nes eu gorfodir mewn manau i geisio ymborthi ar lasweilt fel anifeiliaid, ar fara, (fel ei galwant) wedi ei gymmysgu â mwsagl. Nid syndod eu bod yn eu symbylu ynghyd gan

feistr mor galed a newyn, yn derfysgluoedd yn y pangau olaf i geisio cynnal bywyd drwy yspeilio, serch lladd a'n gwrthwynebo. Mae taleithiau Rhufeinig, ynghyd ac ereill i raddau o fewn cyrhaedd crafangau y concwerwr cadarn hwn. Ac afreidiol dweyd fod ei ddylanwad yn cynnyddu yn Lloegr, Scotland, ac i raddau yn ein plith, er etto megys o hirbell y clywir swn ei fagnelau gan y rhai a ffoant yma o'i flaen wrth y cannoedd.

Yn ychwanegol at y rhybydd hwn llefara Duw y rhyfel, drwy afonydd o waed dynion wrth drigolion y gwledydd, ac yn uwch etto denfyn ei heintiau ar led, gan ddechreu o'r dwyrain. Dywedir fod y *cholera morbus* yn brysur ddinystrio cenedl y Twrciaid o'i flaen, fel yn blaenllymu ei saethau at ereill, wyddis pwy a ddiangant y tro hwn. Hefyd, mae haint wedi tori allan yn Cain, Mecca, &c., yn yr Aipht, yr hon yn ysbaid naw diwrnod a ysgubodd i fyd yr ysbrydoedd, nid llai na 15,000 o bobl! Er mor alarus yw genym gyhoeddi yr uchod, etto mae yn fwy gofidus fyth orfod addef cyflawniad y brophwydoliaeth ganlynol yn ngwyneb y cyfan. "Ar dynion ereill, y rhai ni laddwyd gan y plâau hyn, nid edifarhasant oddiwrth weithredoedd eu dwylaw eu hun, [canys cosp am y cyfryw ynt] i roddi y gogoniant i Dduw; ond hwy a gnoisant eu tafodau gan ofid, ac a gablasant Dduw y nef, oherwydd eu poenau, ac nid edifarhasant." O gyflwr truenus a chaled! pe byddai arwyddion a rhyfeddodau yn effeithiol i argyhoeddi dynion, buan yr argyhoeddid y byd; ond diolch i'r nef, trefnwyd ffordd well i hyny, sef trwy bregethu efengyl yn hedyn rhad..

---

## NEWYDDION DA O CALIFORNIA.

Mae y llong Brooklyn o Caerefrog Newydd, wedi landio ei ymfudwyr o San Francisco [yn California]. Mae rhan o'r gwersyll ymfudawl o'r Unol Daleithiau eisoes wedi cyrhaedd dyffryn Sacramento, a lluoedd ereill ar y ffordd, y rhai a ddysgwylir yno yn mhen ychydig ddyddiau. Mae hyd y nod yr eirth, y ceirw, yr *antelops*, a'r ceffylau gwylltion, yn synu ac yn gwylltio wrth ymweliad y fath luoedd o ddyeithriaid â hwynt yn y dyffrynoedd a'r coedwigoedd anadnabyddus hyny. Weithiau carlama gyroedd o'r olaf drwy geffylau yr ymfudwyr, gan ddenu rhai i'w canlyn; a cheir trafferth fawr i'w dala wed'yn. Bwriada y Saint uchod ymsefydlu yn San Francisco, mewn gwlad lle y cânt ddigonedd o'r tiroedd brasaf yn y byd, heb eu prynu, ond yn wobr gan y llywodraeth am ymsefydlu yn y wlad. Mae yr hinsawdd yma yn rhyfeddol o dymherus. Nid yw gwres yr haf, nac oerfel y gauaf, yn achosi yma, fel manau ereill yn yr un lledred, eithafion o'r naill na'r llall, a hyny oherwydd fod awelon, a elwir *trade winds*, yn chwythu o'r gogledd am y chwech mis haf, ac o'r deau cyhyd y rhan arall o'r flwyddyn; ac oherwydd hyn, ynghyd â rhagoriaethau y wlad baradwysaidd hono, dywedir fod clefydau a heintiau yn anadnabyddus yno ond mewn enw. Yn Fonterey, un o brif drefydd y wlad hono, cyhoeddir newyddiadur, yr hwn a'n hysbysa eu bod hwy yno wedi adeiladu rhai llongau bychain ag sydd yn mordwyo ar hyd ei glanau. Maent yn adeiladu tai, melinau, ac yn codi ysgolion, &c., ar y dull

Americanaidd, a'r holl wlad yn bywiogi, a dilladau o bob math, a nwyfau pellenig, wedi gostwng yr hanner yn eu pris er pan y cymmerodd yr Unol Daleithiau feddiant o'r wlad; a thynu ymaith y *duties*, yr hyn oedd yn fwy nâ'r pris presennol. Da genym ddeall fod y Saint yn cael derbyniad croesawus yno, a bod y poblogrwydd o'u plaid, er yn alltudion o'u gwlad eu hunain. Dywed un papyr o'r enw "*Friend*," yr hwn a gyhoeddir yn Honolulu,—" Dyledus arnom sylwi ar rai pethau o barthed i'r Mormoniaid, ag sydd yn adnabyddus i ni. Yr oeddym yn byw yn Illinois, nid neppell oddiwrth y Mormoniaid. Yn ystod y rhyfel diweddaf, dywedid llawer o bethau drwg ac anhygoel i'w herbyn: dichon fod rhai o honynt yn wir, ond wedi eu lliwio yn rhy uchel. Pa un bynag am hyny, maent wedi tirio yma yn ein plith ni. Yma y gwnant eu cartref; ac nid oes gan yr ychydig o honom a'u blaenasant un hawl i'w rhwystro; a pha bethau bynag a allasai fod yn feius o'r blaen, gobeithir yr uniawnir hyny yma; a chyd-ddeisyfwn a'u cyfeillion y bydd iddynt sicrhau ffafr ac undeb â phawb. Duw a oruwch-lywyddo eu cynghorion mewn doethineb." Dyma esiampl deilwng o efelychiad gan olygyddion Cymru, sef gweddio drosom, yn lle ein rhegu a'n camgyhuddo o hyd; a chaiff hwn ei ddymuniad hefyd, drwy weled fod " Duw yn llywyddu cynghorion y Saint mewn doethineb " er ei ogoniant, a lles yr holl fyd.

Papyr newydd arall a ddywed am sefyllfa a gobeithion y Saint a gyrhaeddasant yno,—" Dywedir eu bod yn eu rhifo wrth y cannoedd o filoedd, a nifer fawr iawn o honynt wedi bod gyda'r gwahanol enwadau ereill. A gwir yw hyn am y cwmni a ddaethant yn awr ar fwrdd y Brooklyn o leiaf; canys gwelir yn eu plith lawer a fuont gyda'r Bedyddwyr am flynyddau, ereill gyda'r Trefnyddion, yr Independiaid, &c.; ïe, yn mhlith y rhai hyn caiff pob enwad rai i'w cynnrychioli, ac oll mewn undeb ysbryd, amcan, a chydweithrediad yn awr, dan adenydd Mormoniaeth. Yn ol a ddeallwn, California yw canol-bwynt eu hymgyrch; ac yn neillduol, yn y dyffrynoedd harddwych oddeutu San Francisco y dechreua Saint y Dyddiau Diweddaf ymsefydlu. Ac, a gadael heibio y gorfodiaeth a arferir i ddesgrifio harddwch a rhagoroldeb y fan hon, rhaid addef, ar bob ystyriaeth, mai lle hyfryd, manteisiol, a dedwydd, yw—y lle goreu i sefydlu tiriogaeth ag a geir ar hyd gyffiniau y wlad. Cyduna manteision naturiol y wlad a'r cul-fôr i arddangos y cyfyd yma ddinasoedd a threfydd blodeuog i harddu yr olygfa, cyn yr â nemawr o flynyddau heibio. Arwyddair y Mormoniaid yw '*California*.' Nid yw y rhai a ddaethant eisoes ond megys defnyn wrth y rhai etto a ddaw yn fuan. Credwn, oddiwrth yr hanesion a gawsom, fod dros 25,000 o honynt eisoes ar eu ffordd yma o'r Unol Daleithiau. Clywsom hefyd fod llwyth llong o honynt wedi cychwyn o Liverpool, fel blaenffrwyth o'r lluoedd dirifedi a ddel o'r cyfandir dwyreiniol."

" Pa farnau bynag sydd gan sectau Cristionogol ereill am ddaliadau y bobl hyn, mae yn sicr y cynnwysa yr ymfudiad rhyfedd a chyffredinol hwn o bedwar cwr y byd i California gyfnod newydd a llesol yn sefydliad gwlad eang, ffrwythlon, a gwag o drigolion. Dylanwada y bobl hyn ar California, a gwellhâ ei thynghed yn rhyfeddol yn wladwriaethol, cymdeithasol, moesol, ac yn grefyddol. Ni allwn lai nâ

dysgwyl amser goleuach, a sicr ydym nad y'm yn edrych ar ochr dywyll i'r peth."

"Cyn terfynu, ystyriwn yn ddyledus arnom gyhoeddi tystiolaeth Cadben Richardson y llong Brooklyn, o barthed i ymddygiad a chymmeriad yr ymfudwyr a ddaethant ar fwrdd ei long ef yn ystod mordaith hirfaith oddiamgylch Cape Horn. Am eu bucheddau a'u cymmeriadau canmola hwynt yn rhyfeddol, tuhwnt i ddim a'r a welsai. Dywed eu bod yn byw mewn mwy o undeb a chariad gyda'u gilydd, nag y dysgwyliodd i neb allu bod dan yr un amgylchiadau; eu bod yn siriol, heddychlon, a threfnus iawn, yn ddieithriad. Daethant yma gyda phenderfyniad i lafurio y tir, a phob parotoadau angenrheidiol i hyny, megys erydr, certi, pedrolfenni, pladuriau, a phob math o arfau amaethyddol, ynghyd ag i adeiladu llongau, tai, melinau, &c. Ac nid ydynt wedi anghofio dwyn defnyddiau ysgolion, dysgeidiaeth, &c., gyda hwy hefyd. Hysbysa Cadben Richardson ni eu bod, drwy yr holl fordaith o'r bron, yn cynnal cyrddau addoliad rheolaidd a llesiol; a'u bod yn parhau i gyflawni eu dyledswyddau crefyddol yn gysson ar y lan, wedi ymadael o'r llong. Ymsefydla y cwmni lliosog a bywiog hyn yn eu cartrefleoedd newyddion yn fuan; a bydded iddynt fwynhau mwy o heddwch a chyfiawnder nag yn y rhai blaenorol. Er ein bod yn barnu yn wahanol iddynt am amryw athrawiaethau, seremoniau, etto y mae y goreu o'n dymuniadau a'n gweddiau gyda hwynt. Tynerwch a sirioldeb rhagluniaethol y Goruchaf a'u cysgodo. Maent i sylfaenu sefydliadau teuluol, gwladol, a chrefyddol, yn ein plith. Ac O, bydded iddynt fod yn gyfryw ag y cyfyd yr oesoedd a ddel, ac a'u bendithiant." "*Monterey, Awst* 13, 1846."

Gwyn fyd pe byddai llawer o'r rhai sy'n dal allweddau poblogrwydd ein gwlad ni yn meddu spectol mor gywir, a chalon mor onest a synwyrol, â hwn, diau y galwai yr oesoedd a ddel hwythau yn wynfydedig. A sicr ydym, pe buasai awduron a golygyddion yr Unol Daleithiau mor ddiragfarn a gwladgarol â hwn, ni buasent wedi achosi i'w hudolion ymddwyn mor annynol, tywallt cymmaint o waed gwirion, na dyoddef mor erwin o ffrwyth eu gweithredoedd; ond buasai Saint y Dyddiau Diweddaf hyd byth yn achosi eu gorlwytho â bendithion tymmorol a thragwyddol. O na bai ereill yn ddoethach yn nydd eu dylanwad, yn cymmeryd rhybudd, ac yn rhoi tegwch i'r gwir, deued o ba le y delo.

Dywenydd mawr genym hysbysu ein darllenwyr am gyrhaeddiad y llong Brooklyn i'r porthladd dymunol yn ddiogel. Cofus ganddo i ni hysbysu ei chychwyniad o Gaerefrog Newydd yn Ionawr, 1846, a'r cwmni dan lywyddiaeth y Dr. Brannan. Diau y dyrchafa diolchgarwch o galonau y Saint yn Nghymru hefyd i'r hwn sy'n cynnal y môr fel ar gledr ei law, a'r gwynt yn ei ddwrn, am ei ofal tadol dros ein brodyr a'n chwiorydd, drwy eu mordaith, gan ddeisyf am estyniad ei ddaioni gogyfer â'n heisiau yn yr amser dyfodol, nes y troant yr anialwch hwnw yn ddoldir, ac yn nodlfa i filoedd o bobl Saint y Goruchaf rhag ei farnau ar y byd. Ac awelon hyfryd y nefoedd a anadlo yn beraidd ar y blodau hyn, nes y peraroglo eu hesiamplau a'u dysgeidiaeth dduwiol ar y cyfandir oll, a'r byd hefyd.

---

## GWELEDIGAETH NOS!

"Ar yr 16eg o Ragfyr, pregethais i dyrfa liosog yn Bolten, ar adgyfodiad y corff, ac wedi hyny aethum gydag un o'r brodyr i gysgu y nos hono. Yn mhen enyd, cefais fy hun yn ymdeithio gyda dau neu dri o'm brodyr yn y weinidogaeth, gan ymddyddan am y pethau a berthynant i deyrnas Dduw, pan yn ddisymwth daeth dyn dyeithr golygus iawn i'n cwmni, ac a ddywedodd, "Wel frodyr, pa fodd yr ydych oll?" Edrychasom arno, ac atebasom, nad adwaenem ef. Yna dywedodd, "Os cadwch fy enw yn ddirgel tra byddwyf gyda chwi, hysbysaf i chwi pwy ydwyf." Addawsom wneyd hyny. Ar hyn cyrhaeddasom dy y brawd lle yr amcanem letya; ac wedi myned oll i mewn, ac eistedd mewn ystafell ddirgel, bu yr ymddyddan canlynol: "Fy enw," ebe y dyeithryn wrthym, "yw Iago. Myfi ydwyf un o'r apostolion oedd ar y ddaear hon yn nyddiau yr Iachawdwr. Gwelwch yn awr fy nghorff adgyfodedig. Teimlwch a gwelwch; canys nid oes gan ysbryd gnawd ac esgyrn, fel y gwelwch fod genyf fi."

Yna sylwasom yn fanylach arno, ac O na feddem eiriau i ddesgrifio harddwch a gogoniant y corff hwn! Ymddangosai ei gnawd a'i groen mor bur a dysglaer, a'i ruddiau fel y rhosyn. Rhoddais fy llaw ar ei wyneb; ac yna dywedodd, "Gwyliwch! yr wyf yn bur eiddigeddus am fy nghorff nefol." Gofynais iddo, "Frawd Iago, pa fodd yr ymddygodd eich cydoeswyr atoch chwi?" Atebodd, "Yn debyg fel yr ymddyga pobl yr oes hon atoch chwi ac apostolion yr oes hon. Gwawdiasant ac erlidiasant ni, gan fwrw ein henw allan am ddrygionus. Dadleuai yr offeiriaid i'n herbyn, a dywedent wrth y werin mai gau-brophwydi, a thwyllwyr, &c., oeddym; nad oeddym deilwng o gael byw ar y ddaear; yn gywir fel y dywed pobl am y deuddeg a anfonodd Duw yn yr oruchwyliaeth hon. A'r gwir yw, mae y bobloedd yn gyffelyb yn awr i'r hyn oeddynt yn yr oes hono; ac ni dderbyniant egwyddorion pur yr Iesu genych chwi yn awr, mwy nag y credent y gwir o'n geneuau ninnau. Yn ein dyddiau ni, ni chredai ond ychydig ein tystiolaeth; ac ni chreda ond ychydig eich tystiolaeth chwithau." Dywedais wrtho, "Frawd Iago, mae y bobl wedi adeiladu capel mawr a gwych ar eich enw chwi yn y wlad hon; oni chaniatant i chwi bregethu ynddo, tybied?" "O na," ebe efe, "ni chaniatant i mi bregethu yn eu capel, mwy nag y caniatant hyny i un o'r deuddeg yn yr oes hon; a phe caniataent, byddai yr hyn a bregethwn yn hollol groes i'w gau-draddodiadau hwynt. Gwyddoch am fy ysgrifeniadau, yr ychydig weddill sydd o honynt nid ymarferant; ac nid yw y rhai sydd ganddynt yn debyg mor eglur ag yr ysgrifenais i hwynt. Maent wedi cyfnewid a cholli y pethau egluraf o'm hysgrifeniadau; a phe dywedwn hyny wrthynt, ni chredent fi. Felly, yr oll a allwch chwithau ei wneuthur yw pregethu yn y lle a'r man y caffoch y cyfle, a chasglu y rhai gonest eu calon o'u plith: wedi hyny torir yr anufyddion ymaith oddiar y ddaear; canys yr oll a wna yr Arglwydd yw rhybyddio y bobloedd, ac os na chymmerant rybydd, efe a'u dinystria hwynt â'i farnedigaethau." Yna gofynais iddo, beth a feddylia am y deuddeg apostol sydd yn blaenori eglwys Iesu Grist, Saint y Dyddiau Diweddaf, yn awr? Atebodd, "Dynion da ydynt; ac os ufyddha y Saint i'w

dysgeidiaeth, hwy a ddyrchefir yn nheyrnas Dduw." Sylwais, "Y maent wedi dod i ddeall llawer o egwyddorion gogoneddus er sefydliad yr eglwys." "Y maent," ebe efe, "ond nid ydynt etto ond babanod mewn cyferbyniad i'r hyn a fyddant pryd y cânt eu cyrff anfarwol, fel y gwelwch genyf fi." "Pa bryd y cawsoch chwi eich corff adgyfodedig?" I hyn ni atebodd yn ddealladwy. Dywedais, "O mor dda fyddai genyf pe bawn wedi cael corff godidog ac anfarwol fel y corff sydd genych chwi." Atebodd, "Ni bydd yn faith, os byddwch yn parhau i fod yn ffyddlon, cyn y cewch chwi a'r holl Saint gyrff fel y corff hwn." Ar hyn, galwyd ni i ystafell arall i swperu; yntau a ddywedodd, "Os addawwch nad amlygwch pwy ydwyf, myfi a swperaf gyda chwi." Ar hyn deffroais; ac wele breuddwyd oedd! Dichon rhai feddwl nad yw hyn ond dychymmyg; ond i mi, mewn gwirionedd, yr oedd yn deimladwy, sylweddol, a gogoneddus; yn beth nad anghofiaf, mewn amser na thragwyddoldeb. Cymmerodd le yn gywir fel y desgrifiais, ac achosa lawenydd i'm calon bob tro y meddyliaf am dano. O! ni ddichon ymadrodd dynol bortreiadu harddwch a gogoniant y corff hwnw! Yr ydwyf yn foddlon i ddyoddef pob dirmyg, a gwawd, ac erlidigaeth, er mwyn cael adgyfodiad gogoneddus. Felly bydded. Amen. Ydwyf, eich brawd yn yr efengyl dragwyddol, M. SIRRINE."

"Pan ddarllenasom "weledigaeth" y brawd Sirrine gyntaf, ystyriem hi yn debyg i weledigaeth luniedig; ond ar hyny, gwelsom y brawd Sirrine, a sicrhaodd i ni nad ffug, ond gweledigaeth sylweddol, oedd, fel y geiriodd hi yn gywir. Dywed Joel, "A bydd yn y dyddiau diweddaf, eich henafgwyr a freuddwydiant freuddwydion; a'ch gwyr ieuainc a welant weledigaethau." A dywed y gwr doeth, "Lle nad oes weledigaeth, pallu a wna y bobl." Y nefoedd a ganiatao i'r llen gael ei rhwygo oddiar ein llygaid ni oll, fel yr adwaenom fel ein hadnabyddir. ORSON HYDE."

[Oddiar adnabyddiaeth bersonol â'r brawd Sirrine er's blynyddau, tu yma a thudraw i foroedd, mae fod ei enw wrth y "weledigaeth" uchod yn sel ddigonol o'i geirwiredd.—GOL.]

---

## YR IFORIAID YN ESGYMUNO EU HAELODAU OHERWYDD EU CREFYDD!!!

DYWEDID "nad oedd dim newydd dan haul;" ac efallai nad newydd, ond arall gyflawniad o ormes a chreulonderau erlidwyr yr oesoedd tywyll, yw yr hanes a ganlyn; canys, gwrandawed holl hil Gomer! Y mae rhai o'u tylwyth a hònant fod yn wladgarwyr, a dyngarwyr blaenaf ein hoes, eu hunain yn taenu cuddlen dros y Gothiaid a'r Vandaliaid! Mae yn ddigon gwir fod pwyllgor Lodge 299, Cyfrinfa Ifor-Haul, Uneb Caerfyrddin, Iforiaid, wedi esgymuno plaid o grefyddwyr o'u cyfrinach, ar yr addefiad mai oherwydd eu bod yn meiddio addoli Duw y nefoedd yn gydwybodol yn ol yr ysgrythyrau santaidd! Ond, teilwng i'r lleill o'r gymdeithas haelionus a pharchus hon yw hysbysu yn gyhoeddus yr amgylchiadau, a'r personau a achosodd iddynt y gwarth hwn; a cheir gweled pwy o honynt fydd mor ddyngaro

a chyfiawn â chymmeryd eu hysgubell i lanhau yr ystaeniadau brwn hyn oddiar eu coffadwriaeth. Tri diwrnod cyn y cyfnod hynod hwn yn hanes Iforiaeth, fel yr oedd Saint y Dyddiau Diweddaf yn pregethu (drwy ganiatâd y perchenog) yn neuadd yr *Yew Tree*, Blaenau, un o "Beirch" y Bedyddwyr fyth, o'r enw Thomas Evans, a safodd i fyny i'w gwrrthwynebu; a thrwy hyny dangosodd ei ffolineb, nes dwyn gwarth y dorf arno, ac achosi i'r gwrandawwyr ei ddiystyru; ac yna rhuthrodd allan mewn cywilydd. Er hyny, nid atebodd hyn y dyben, ond i'w gynddeiriogi waeth-waeth, gan na wyddai pa fodd i ddial ychwaneg ar y Saint; ond y trydydd dydd ar ol hyny gwelwyd y personau canlynol wedi ymgasglu dan yr enw o bwyllgor y gymdeithas, a alwyd i'r dyben hyn, a'r "parchedig" hwn yn brif gynghorwr a *dictator* beth a wnelid a'r Seintiau (yn eu habsenoldeb, sylwer, ond fel y daeth un o honynt i wybod yn ddamweiniol), a gosodwyd ei frawd, sef Dafydd Havard, un o'r Bedyddwyr, yn gadeirydd, a Dafydd Thomas yn îs-gadeirydd. Yna un arall o'r Bedyddwyr, o'r enw W. Williams; George Davies, Wesleyad; John Daniel, Wesleyad; James Mark, Independiad; Thomas Griffiths, Bedyddiwr; a John a Benjamin Thomas, yn bwyllgor yn y chwil-lys Iforaidd, *alias* Sectaraidd, hwn! A dychymyged y darllenydd weled y dialydd "parchedig" ar ei orsedd yn awr; a'r cam cyntaf oedd dyosg y wisg, sef y swydd, oddiam un o'r Saint, a'i gwisgo am dano ei hun. Ar hyn, ymchwyddai fwy-fwy fel y "llyffant hwnw oedd yn ceisio efelychu yr ych," hyd nes y casglodd ddigon o bres yn ei wyneb i wyrdroi a dirdynn cyhoeddiadau y Saint, i gyfeirio eu bod yn gwadu dwyfoldeb yr ysgrythyrau; a'r prawf a rydd o hyn yw. oherwydd eu bod yn credu fod llyfr Mormon yn wir! Ac felly, y mae addef gwirionedd y Testament Newydd yn gwadu dwyfoldeb yr Hen! Ie, yn ol yr ymresymiad yna, mae addef geirwiredd y naill epistol o'r Testament yn gwadu dwyfoldeb y llall! Ie, yr un peth fuasai i'r "parchedig" hwn haeru, fod credu tyst olaf mewn llys yn gwadu yr un blaenorol, er eu bod mor gydfynedol â'u gilydd ag yw Llyfr Mormon â'r Ysgrythyrau.

Ond nid oedd waeth beth a amddiffynid, cytunasant i dori yr holl Saint allan heb rybudd, na throi eu harian yn ol, er fod rhai o honynt wedi bod yn talu i mewn iddynt am flynyddau, heb gael ceiniog yn ol erioed; ac un, yr hwn y gwyddent ei fod gyda'r Saint, a dalodd iddynt 9*s*. yn y cwrdd diweddaf cyn ei dori allan. Os gellir cael addasach enw ar y fath waith â hyn, nâ *wholesale swindling institution*, dymunem wybod pa beth yw. Pa un a ydyw hyn yn enghraifft o Iforiaeth Cymru, ynte o ormes a throsedd y *glân* hwn o'i rheolau, a brofir drwy ffeithiau yn dadwneyd y trosedd, neu eu cydymffurfiad drwy eu goddefiad o hono. Ond gobeithiwn fod digon o rinwedd yn ein brodyr a berthynant i *lodges* ereill, naill ai i weinyddu cyfiawnder, neu i ymddidoli oddiwrth ormeswyr anghyfiawn, canys y neb a ddywedo, "Duw yn rhwydd" wrthynt, sydd gyfranog o'u drygioni hwynt. Hyd nes y profir i'r gwrthwyneb i'r ffaith uchod, cofied y Cymry (a byddwu decach nâ hwy drwy hysbysu i ereill), cyn pentyru eu harian i gistiau yr Iforiaid, y rhaid iddynt roddi i fyny bob hawl i ewyllys rydd, a'n barn eu hunain am grefydd, a chyflwyno, nid yn unig eu harian, ond y perl gwerthfawrocaf, a'r goreu o roddion Duw i ddynion, sef *meddwl*

*annibynol*, i'w dwrn hwy. Beth yw caethiwed y Negro caethaf wrth gaethiwed Iforaidd y Cymro glanaf a feiddia ddewis ei grefydd ei hun yn ei wlad rydd ei hun? Beth a wnant ond apelio at reswm eu brodyr ereill am y cyfiawnder sydd allan o gyrhaedd cyfreithiau eu gwlad i ennill yn ol iddynt!

Oferedd i'r Iforiaid—ymyraeth
A mawredd Mormoniaid;
Na ddeallent hwy ddeilliaid
Fod Ior ein Blaenor o'n plaid.

---

BEDYDDIADAU GAN Y SAINT YN MIS CHWEFROR, 1847.

*Merthyr Tydfil.*—Bedyddiwyd ugain yn y ganghen hon yn y mis hwn, pa rai, ynghyd â'r holl aelodau ffyddlon ereill, ydynt yn mawr lawenhau yn eu breintiau, ac yn nyddanwch yr Ysbryd Glân.

*Nant-y-glo.*—Er maint trwch y llwch a'r llaid a fwriwyd yn ngwynebau y gwroliaid gwirgarol hyn, cynnyddu y maent mewn cariad, amynedd, doniau a grasusau, yn ogystal ag mewn rhifedi. Bedyddiwyd yn y ganghen ieuanc hon o eglwys Iesu Grist, 16eg, ar eu proffes o'u ffydd yn Mab Duw, a'i efengyl, yn mis Chwefror; ac er y bygythir yn drwm i'w herbyn, maent yn gadarn yn y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint, ac yn mawr lawenhau yn nyddanwch yr Ysbryd Glân yn nghanol gorthrymderau, gan fawrhau eu braint o fod yn deilwng i ddyoddef pob peth er mwyn enw yr Hwn a roddes ei fywyd i lawr drostynt.

*Pen-y-cae.*—Bedyddiwyd dau, ac ychwaneg wedi addaw ufyddhau yn fuan.

*Tredegar.*—Bedyddiwyd un. Mae pregethu yn gysson hefyd yn neuadd y "*Gen. Picton,*" Sirhowy.

*Coed-duon.*—Un yn ychwanegol; a llawer yn cyrchu i'r Neuadd i glywed yr efengyl yn cael ei phregethu.

*Abersychan.*—Er cymmaint y gwrthwynebiadau a gaed yma, cafwyd yma, drwy dirionded y perchenog, ganiatâd i bregethu bob Sul mewn Neuadd gyfleus; ac yma, fel yn mhob lle arall ag y caffo y bobl ddeall beth a broffeswn, yn hytrach nâ'r hyn a wadwn, ennilla ein hefengyl eu serch yn ol eu gonestrwydd; ac onid yw ein gwrthwynebwyr yn deall ac yn addef hyn, drwy fygwth a cheryddu eu haelodau, rhag iddynt ein gwrando, gan gam-ddarlunio ein crefydd? Er y cyfan, bedyddiwyd yma bump y mis hwn, ar eu proffes o'u ffydd yn Iesu Grist.

*Cwmbach.*—Yma, tri yn unig a ufyddhasant yn y mis.

*Llwyni.*—Bedyddiwyd dau, a gobaith fod y gwrthweithiad yn agoryd llygaid llawer ereill.

*Cwmbychan.*—Yn y lle newydd hwn hefyd, pregetha ein brodyr yn ddiwyd, ac mae dau wedi eu bedyddio eisoes yn y mis hwn, er cymmaint a rybuddia y Sectariaid ar bawb i beidio gwrandaw ar "ffiloreg y gau-brophwydi," &c.

*Rymni.*—Bedyddiwyd dau etto oddiwrth y Bedyddwyr, a rhyfedd fel yr erlidia eu cyn-frodyr hwy.

*Caerdydd.*—Bedyddiwyd pump, yn ol a glywsom, gan mwyaf oddiwrth grefyddau ereill.

*Dowlais.*—Mae y dref hon fel crochan berwedig, rhwng dwy blaid mor groes i'w gilydd ag yw Sectariaeth ac Apostoliaeth; y flaenaf fel ar fin tranc yn amddiffyn y fantell a daenodd dros wynebau ei haddolwyr, ac yn gwylltio bob tro ag y cyfyd yr olaf y guddlen i ereill gael gweled pethau fel y maent, yn enwedig pan y dianc eu haelodau, a'u diaconiaid gonest eu begwyddor, at y goleuni, dan waeddi, Bywyd! Bywyd! Er ys ychydig ddyddiau chawsom lythyr, etto anfonwyd i ni dros bymtheg a fedyddiwyd yma y mis hwn; a diolchwn i'r ffynnonell o oleuni, fod y wawr wedi tori trwy y caddug truenus hwn.

Bedyddiodd yr henuriad Morris rai yn Sir Benfro; ac anfonodd yr henuriad A. Evans newyddion cysurus am lwyddiant a dyddanwch yr holl eglwysi drwy y Gogledd;

felly yr hysbysa y brawd R. Evans ni hefyd; a gwelir fod genym lawer o destynau diolch i'r Hwn a bia y gwaith, ynghyd ag annogaethau i ddiwydrwydd.

[D.S. Gofynwn etto i bob llywydd canghen anfon i ni rif y rhai a fedyddiwyd, ar ddiwedd pob mis!]

---

### TREFNIADAU Y PREGETHWYR.

Mae yr offeiriad John Price wedi ymfudo i Risca, a chael derbyniad croesawus. Bwriada yr offeiriad James John fyned yno hefyd yn fuan.

Gwelsom yr henuriad Robert Evans yn Wrexham yn ddiweddar. Y mae yn llafurus a llwyddiannus yn y Gogledd, ac wedi bedyddio rhyw nifer yn ddiweddar, ac yn anerch Saint y Deheudir, gan ddymuno rhan yn eu gweddiau.

Bedydd wyd dau yn Rhosllanerchrugog dechreu y mis, ac y mae'r ganghen yn flodeuog.

Aeth yr henuriad W. Davies, Rymni, i bregethu yn Aberhonddu, ac amcana fod yn y cylchoedd hyny am yspaid. Llwyddiant iddo.

Yr offeiriad John Richards, Merthyr, a ymfudodd tua Llanelli, Sir Gaerfyrddin, er mwyn yr efengyl.

---

## CYMMANFA MORGANWG.

Cynnelir y Gymmanfa hon yn Neuadd y Cymreigyddion (White Lion), Merthyr, i ddechreu dydd Sul, y 18fed o Ebrill, am 10 o'r gloch y boreu.

## CYMMANFA MYNWY.

Cynnelir y Gymmanfa hon dydd Sul, Ebrill y 25ain, yn Neuadd y Caukers' Arms, Nantyglo.

Dymunir ar lywyddion holl ganghenau y Cynnadleddoedd uchod ddyfod yno, fel y gallont gynnrychioli rhifedi, cynnydd, ac ansawdd eu canghenau. Gellir cael lluniaeth gan Mr. Evans, Caukers' Arms.

D.S. Dysgwylir y Llywydd F. D. Richards (yn ddiweddar o'r America), o Lynlleifiad, i ymweled â'r ddwy Cymmanfa.

---

### CYNNWYSIAD.




MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

JOHN JONES, ARGRAFFYDD, RHYDYBONT.

# PROPHWYD Y JUBILI,

NEU

# SEREN Y SAINT.

RHIF. 10.] EBRILL, 1847. [PRIS 2g.

## CATECISM I ATHROFEYDD Y "*PEIRCH*."

*(Parhad o tudal. 39 o Prophwyd Mawrth).*

A YDYCH yn siwr nad oes un efengyl neu drefn arall drwy ufydd-dod i'r hon y gall dyn gael cadwedigaeth, ond drwy gredu, edifarhau, a chael ei fedyddio er maddeuant pechodau, ac arddodiad dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glân?—Nid yw ein Crist ni, ei Dad, na neb o'i weision, wedi dweyd gair am un arall; ac felly casglaf na wyddent hwy am yr un drefn ond hon. Os oes un arall, rhyw awdwr arall sydd iddi, a rhyw fibl arall yn ei dangos. Dweyd fod Crist perffaith wedi trefnu mwy nag un drefn berffaith i'n dwyn i nefoedd berffaith, yw dweyd eu bod oll ond un yn anmherffaith; a chan fod gwaith pob un yn ei brofi, dyna Grist anmherffaith, a hyny yw bod heb Grist yn y byd; a bod heb Grist perffaith yn aberth cymmeradwy yw bod heb Dduw; a bod heb Dduw yw bod heb ddim; felly mae pob dyn a haera fod mwy nag un drefn i achub dyn yn ddeistaidd i'r graddau hyny; ïe, er eu proffes, eu sêl, eu gwynebau hirion, a'u haml weddiau, a'u defosiynau i gyd!

Beth! a ydyw yr holl grefyddwyr a'r pregethwyr drwy'r byd a'r sydd heb ufyddhau i'r ffurf hon o athrawiaeth, yn amddifad o'r efengyl dragywyddol, yn gyffelyb i'r paganiaid?—Ni allaf ddangos gwahaniaeth, amgen na bod y blaenaf yn credu yn hanesyddol am Grist, a dysgu moesoldeb, &c., drwy yr ysgrythyrau, er nad y'nt yn deall yr efengyl.

Onid yw yn bosibl i hyd y nod duwinyddion dysgedig ein hathrofeydd gael rhan yn yr adgyfodiad cyntaf, a bod gyda Iesu Grist, ac yn gyffelyb iddo, drwy rai o'r ffyrdd newydd a chyfleus a ddyfeisiasant hwy, heb ufyddhau i'r efengyl hon?—Ateba Crist ei hun,—"Yn wir, yn wir, meddaf i chwi, oddieithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw." Pa fodd, ynte, y cedwir neb yn nheyrnas Dduw os gwrthoda "fyned i mewn" iddi drwy y drws? Triniaeth, neu groesaw, "lladron ac yspeilwyr" a gaiff, os aiff rhyw ffordd arall iddi!

Beth a ddel o'r holl rai a fyddant yn fyw ar y ddaear, ac a wrthodasant ufyddhau i'r efengyl, ar ail ddyfodiad Iesu Grist?—Dywed y Bibl y bydd i Grist ddyfod gyda'i angylion nerthol, a fflam dân, i roddi dial ar y sawl nid adwaenant Dduw, *ac nid ydynt yn ufyddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist.*

Pa fodd mae y byd Cristionogol (fel ei gelwir) wedi bod cyhyd yn amddifad o gyflawnder yr efengyl dragywyddol?—Mewn cyflawniad o laweroedd o brophwydoliaethau, megys Daniel, ac Ioan; sef, fod bleiddiaid rheibus wedi dyfod i'r eglwys ar ol amser yr apostolion, wedi dwyn i mewn heresiau dinystriol, troseddu y cyfreithiau, cyfnewid yr ordinhadau, &c., a "rhyfela â'r Saint [oeddynt yn awdurdodol oddiwrth Dduw], *nes eu gorchfygu hwynt.*" Yna haerant hyd heddyw nad oes awdurdod ddwyfol yn eisiau, ac nis mynant hi ychwaith; ond gwna pawb y ffordd a ddewiso!

Pa fodd y daeth Saint y Dyddiau Diweddaf i ddeall, a chael y fraint o fod yn offerynau yn llaw Duw i adferyd cyflawnder yr efengyl yn ol i blith dynion?—Nid oherwydd dim cymhwysder, rhinwedd, na theilyngdod ynddynt hwy fwy nag ereill; ond, oherwydd ddyfod o gyflawnder yr amseroedd, yn ol arfaeth y Duw mawr yn y cynghor boreu, i efengyl yr hedd gael ei phregethu i holl drigolion y ddaear, er darparu y ffordd i ail ddyfodiad ei Fab, darparu pobl briodol, a'u gwahodd i swper neithior yr Oen, rhag iddo ddyfod a tharo yr holl ddaear â melldith; canys nid yw efe yn hoffi yn marwolaeth yr annuwiol, &c.

Pa fodd y derbyniasant hwy yr efengyl hon, a hawl i'w phregethu?—Duw a anfonodd yr angel santaidd hwnw a welodd Ioan yn dyfod â'r efengyl dragywyddol i efengylu i bob cenedl, llwyth, ac iaith, gan ddywedyd, "*Daeth awr ei farn ef.*"

Oni achubir neb a wrthoda yr efengyl hon rhag y barnau a ddel ar y ddaear?—Yr un nifer ag a achubwyd o'r hen fyd wedi gwrthod cenadwri Noa! Os achubir un a'i gwrthoda, paham nad amgen? Os felly, ofer oedd i Dduw ei danfon.

Onid ydych yn gul eich barn, ac yn angharedig iawn tuag at grefyddwyr ereill, sydd mor selog yn addoli Duw yn ol y goleuni sydd ganddynt, drwy ddweyd hyny wrthynt?—Os oedd Crist yn angharedig at grefyddwyr mwy selog ei ddyddiau ef pan y galwai hwynt yn "ragrithwyr;" ac y dywedai,—"Hiliogaeth gwiberod pa fodd y diangwch chwi farn uffern?" Mae yr hwn a welo y drwg yn dyfod ar y wlad, ac a'i rhybuddia yn eglur ac yn onest yn ol "y gyfraith a'r dystiolaeth," yn fwy caredig tuag atynt, ac yn eu llesoli yn fwy na deng mil o'r rhai sy'n gwaeddi "Heddwch, heddwch, gan brophwydo daioni o hyd, pan y mae dinystr disymwth ar ddyfod ar eu gwarthaf hwynt."

Beth yw cyflwr yr holl rai a fuont feirw er pan gollwyd yr efengyl oddiar y ddaear hyd yn awr?—Bernir hwy, yn ol y gweithredoedd a wnaethant yn y corff, gerbron brawdle gyfiawn, yn ol y goleuni a gynnygiwyd iddynt yn eu bywyd, a'r defnydd a wnaethant o hono; canys y rhai nid oes ganddynt ddeddf, a gyfrgollir hefyd yn ddiddeddf, a diammau y cyfyd miloedd o honynt yn y farn yn erbyn y genedlaeth hon, ac a'i condemniant hi, canys pe cawsent hwy y manteision a'r cynnyg ag y mae yr oes hon yn ei gael, diau y cofleidiasent gyflawn-

der yr efengyl gyda pharodrwydd. Llawer o honynt a chwennychasant weled gwawl gogoniant y dyddiau diweddaf, ac ni chawsant; am hyny na ofalwch drostynt hwy, canys pob un drosto ei hun a rydd gyfrif i Dduw. Cynhauaf eich enaid chwi yw yn awr; hâf-ddydd yr efengyl a wawriodd i chwi; ac O, na chauwch eich amrantau yn erbyn dwyfol belydrau gwawl y Jubili.

*⁎* Cyfansoddwyd er gwasanaeth Efrydwyr Athrofa Rhydychain, ac ereill.

---

## DYLEDSWYDDAU DYSGAWDWYR.

"Dylai y dysgawdwyr wylied dros yr eglwys yn feunyddiol, dysgu a chadarnhau yr aelodau, gan edrych na bo neb o honynt yn coleddu unrhyw bechodau; rhag bod anghariad at eu gilydd, anwireddau, cenfigen, na goganair, yn magu gwreiddyn chwerwedd yn eu plith; i edrych na byddont yn esgeuluso eu cydgynnulliad; ond fod i'r eglwys gwrdd ynghyd yn fynych; ac, fod yr holl aelodau yn cyflawni eu dyledswyddau. Mae efe i lywyddu yn y cyfarfodydd, yn absenoldeb henuriaid, ac offeiriaid; ac y mae y diaconiaid i'w gynnorthwyo yn ei holl ddyledswyddau, pan geisio ganddynt; ond nid oes gan ddysgawdwyr, na diaconiaid, hawl i fedyddio, gweinyddu y sacrament, nac arddodi dwylaw; etto dylent rhybuddio, egluro, a dysgu, gan wahodd pawb i ddyfod at Grist."—*Ath.* a'r *Cyf.*

Mae swydd dysgawdwr yn un anghenrheidiol a phwysig iawn; anghenrheidiol, meddwn, oherwydd fod cymmaint o demtasiynau yn cael eu gosod ar ffordd y Saint ieuainc yn y ffydd. Gormeswr yw y gelyn diafol, ac yn eu gwendid yr ymesyd arnynt waethaf, i geisio dadymchwel eu heneidiau, oherwydd eu bod wedi dianc o afaelion ysbrydion cyfeiliornus i deyrnas Dduw. Dyna yr amser y defnyddia ei gynllwynion, a'i demtasiynau fynychaf, a mwyaf effeithiol, oherwydd eu gwendid. Dyna'r pryd yr arweinia ei offerynau gyda'u chwedlau gwneyd, eu camgyhuddiadau, a'u bygythion, gan gablu y pethau na wyddant o'u herwydd, fel cynt. Yna yr anghenrheidrwydd am i'r dysgawdwyr wylied drostynt fel dros eu praidd, symud y rhwystrau o'u ffordd, egluro y pethau annealladwy, eu porthi â didwyll laeth y gair, fel y cynnyddont beunydd. Ystyried pob dysgawdwr werth yr eneidiau, ynghyd â'u gwendid, a ymddiriedwyd i'w ofal; canys gwerth gwaed y pen Bugail mawr ydynt; y perygl sydd iddynt golli eu cariad cyntaf, ac ymddyrysu gyda phethau croes i dduwioldeb; a chofied fod yr hwn a droa bechadur o gyfeiliorni ei ffordd, yn achub enaid rhag angau, ac yn cuddio lliaws o bechodau. Gofaled am beidio a'u llindagu â bwyd rhy gryf yn eu gwendid, canys "bwyd cryf a berthyn i'r rhai perthaidd." Ofnwn nad yw pawb yn dysgu mewn doethineb; yna annogwn y cyfryw i gydymdeimlo â gwendidau y newyddion yn y ffydd, gan gofio mai y cyfryw oeddym ninnau. Nid ar unwaith y daw y baban yn ddyn, y fesen yn dderwen, na ninnau yn berffaith; ond yn raddol, fel y cynnydda goleuni y boreu, nes cyrhaedd dyscleirdeb canol dydd. Gwyddom fod gwahaniaeth mawr rhwng ymuno ag

eglwys Iesu Grist a phawb ereill a broffesant yr enw; hyd y nod ar eu dyfodiad cyntaf nid yw y gelyn yn colli un cyfleusdra i sibrwd yn eu clustiau yn ddrwg am y peth hyn, ac yn defnyddio pob cyfle i beri iddynt ammau y peth arall; a gwyddom drwy brofiad chwerw fod ystoriau gwrthgilwyr, a chamgyhuddiadau gelynion y gwirionedd, a glywem yn flaenorol, yn dylifo yn awr i'r meddwl, nes braidd orchfygu ein ffydd wanaidd, ond fel y rhoddodd ereill oleuni, a Duw ei ysbryd amyneddgar i ni allu glynu wrtho, nes cael profiad o'n ffydd, yr hyn sydd werthfawrocach nag aur colladwy; ac O fel y diolchwn erbyn hyn am y waredigaeth a gawsom y pryd hyny rhag llithro; ac felly ystyriwn y dichon fod ereill, ac ymdrechwn ymweled â hwy yn aml, a chryfhau y gliniau gweiniaid; felly y bydd ein "ffrwyth yn santeiddrwydd, a'r diwedd yn fywyd tragwyddol." Gwelir y pwysfawrogrwydd o'r swydd hon yn ei dwyfol osodiad, yn y lles a ddeillia i'r Saint drwy y cyflawniad ffyddlon o honi, ac hefyd yn y cyfrif a raid roddi i'w Rhoddwr am y defnydd a wnaed o'r dalent hon. Dysgawdwr doeth, effro, a selog, a wna y Saint felly hefyd. Efe yw eu tad magwriaethol, o dan arweiniad ei uwch-raddolion mewn swyddau. Dylai wybod ansawdd, a helyntion ysbrydol, ei braidd, a gweled nad oes gwreiddyn chwerwedd yn eu plith yn peri anghariad, yr hon sy'n saeth wenwynig o fwa y gelyn; edrych eu bod yn byw yn heddychlon, ac yn cadw addoliad teuluaidd mor gysson ag y bo modd; canys dyma begwn cryf i gyflawni eu dyledswyddau ereill yw gweddi. Os nad allant gyd-addoli a gweddio wrth yr allor deuluaidd, ni ddichon eu bod yn derbyn doniau, na chynnydd mawr mewn santeiddrwydd, nac yn addurn i'w proffes. Ofnwn mai llithro yn y fan hon, fydd yn diweddu mewn crindod a gofid.

Dylai y dysgawdwr ymweled â phob un a esgeulusa dri chyfarfod eglwysig yn olynol; ac os na bydd achos digonol, ymgynghored â llywydd y ganghen; yna gyda hyn, fel gyda phob trosedd arall o eiddo yr aelodau, dylid ei osod gerbron cynghor dysgawdwyr pan y cyfarfyddo, os bydd yn gyfleus i'r fan lle y mae y cyfryw gynghor wedi ei sefydlu; neu anfoned y cyhuddiadau i gynghor yr henuriaid; hysbyser y troseddwr o'r peth, a gwahodder ef yno, os dewisa amddiffyn. Ond, gofaler ar fod pob ysgogiad yn tarddu oddiar gariad, a gwir ddymuniad i adferyd y cyfryw i'r iawn fel y byddont gadwedig, ac y cydlafenhaoch yn nghariad Crist.

Yn ddiweddaf, frodyr anwyl, byddwch ofalus ar roddi esiamplau a dysgeidiaeth dda i'r praidd dros ba rai y gosododd yr Ysbryd Glân chwi yn olygwyr, ar eich cael chwi a'ch praidd yn ddiargyhoedd, ac yn ddifrycheulyd gan y byd, cydwybod dda at Dduw a dynion; ac y caffoch chwi, a'r rhai a ymddiriedwyd i'ch gofal, fynedfa ogoneddus i mewn i'r brif gorlan, pan y crynhöa y bugail da ei holl fugeiliaid, a'i braidd gwasgaredig, i glywed ei lais yn yr orphwysfa ddedwydd sydd etto yn ol i'r rhai hyny yn unig sydd yn cyd-ddioddef ag ef, y rhai a barhant hyd y diwedd, a'r rhai sydd yn dysgwyl am, ac yn caru ei ymddangosiad ef.

— ——

## NEWYDDION ODDIWRTH Y SAINT SY'N YR ANIALWCH.

YN ddiweddar daeth llythyr oddiwrth yr apostolion o'u gwersyll, ger *Council Bluff*, i'r dwyrain i'r mynyddoedd creiglyd; dyddiedig Ionawr 23ain, 1847. Ni chaniatâ ein colofnau le i'r llythyr cynnwysfawr hwn i gyd; ond y talfyriad a ganlyn:—

"Darluniasom yn ein llythyr blaenorol y ddinas a amcanem adeiladu, ond yr hon yr ydym eisoes yn ei mwynhau. Cynnwysa tua 700 o dai, adeiledig o goed, daear. helyg neu glai, ac yn doedig â gwellt, ac yn anneddau cysurus ac iachus i'r *Saint*, er na safant o flaen y tawdd, y gwlaw, na llawer o haul yr haf.

Cynnwysa ein dinas fawr hon a adeiladwyd fel yr ymddangosodd "cicaion Jonah," braidd mewn noson, yn nghanol yr anialwch hwn, 22 o ddosparthiadau. Trefnwyd esgob a'i gynghorwyr i arolygu pob dosparth fel na bo neb yn dyoddef eisiau bwyd na dillad; ac os dyoddefant, eu bai hwynt fydd hyny, drwy beidio gofyn am dano; neu, os byddant rhy ddiog i weithio. Ond mae y ffaith o fod cynnifer o dai wedi eu hadeiladu mewn cyn lleied o amser yn brawf i bawb o ddiwydrwydd anarferol, y fath ag a ellir ei gystadlu â hanes un genedl mewn unrhyw oes neu wlad! Penderfynasom adeiladu melin ddwfr yma tra yn gauafu; a chymmygiodd ein tirion lywydd, Brigham Young, y gorchwyl o arolygu y gwaith, ac wele yr haidd yn barod i falu ŷd eisoes. Mae yn wir fod ganddo fwy o ofalon o'r blaen nag a ddylid roi ar un dyn; ond "pa fwyaf a wneir, mwyaf y gogoniant," yw ei arwyddair. Nid yw efe yn petruso gydag un peth a duedda i gasglu Israel, neu i hwyluso amcanion Sion. Cysga ag un llygad yn agored, ac un troed o'r gwely y nos; a phan y bo galwad, efe yw'r cyntaf un i'r ymgyrch, ac y mae ei gynghorwyr o'r un galon ag ef. Sonia yn aml am genadaeth ein hanwyl frodyr Hyde, Pratt, a Taylor, yn neillduol am ymgasgliad y Saint o ynysoedd i ynys, ac am y modd goreu iddynt ddyfod o'r pedwar cwr i'w cartrefle. Anwyl frodyr, nac anghofiwch chwithau y mater pwysig hwn, pa beth bynag a wneloch; nid ein hofnau a ddywed hyn, ond coffâwn eich meddyliau am dano. Anfonir cwmni o 300 o ragflaenwyr mor gynted ag y caniatâ y tywydd, tua *Yellow Stone*, at droed y mynyddoedd, gyda phethau angenrheidiol i godi cnwd o'r ddaear erbyn y delo tua dwy neu dair mil o Saint ar eu hol; a rhai a arosant i lafurio a darparu erbyn dyfodiad gwersyll arall yno; ac felly digonir y Saint a ddel heb fyned mor bell yn ol â *Missouri* i brynu lluniaeth. Mae y gwerthwyr yn y wlad hon yn efelychu pawb ereill i geisio newynu a difodi y Saint drwy godi pris y gwenith o 40 i 50 *cent*, a'r *Indian corn* o 20 i 25 *cent*, y bwshel, er pan y daethom ni yma.

Ar y 9fed o Hydref, pan y dychwelodd ein pedrolfeni i lan y Missisippi, ar gyfer Nauvoo, cawsant y gweddill o'r Saint yn gorwedd ar lan yr afon, heb dai, gwelyau, celfi, bwyd, dillad, na dim; ond yr oedd newynu i farwolaeth yn syllu yn eu gwynebau! Yr oeddynt wedi cael eu halltudio gan y mobs o'r ddinas yn ddiarbed, dirybudd. a didrugaredd, heblaw fod llawer o dan glefydau a heintiau y wlad hono ar y pryd. Nid oedd ganddynt ddim i fyw yno, na dim i gychwyn eu taith. Pan yn yr amgylchiad cyfyng hwn, troisant at yr Arglwydd, ac

efe a anfonodd lu mawr o sofl-ieir *(quails)*, y rhai a ddisgynasant yn eu plith, ar eu gorwedd-leoedd, ac wrth eu traed, hyd nes yr oedd y cleifion a phawb yn eu dala â'u dwylaw, nes eu digoni; felly hulid eu byrddau a gig, foreu a hwyr. Nid y Saint yn unig a welodd hyn, ond y byd hefyd. Yr oedd ager-fâd yn myned heibio o fewn chwech rhwd iddynt, ac a'u gwelsant, a rhyfeddodd y teithwyr oedd arni yn fawr iawn; ereill ar y lan (heblaw y Saint) a ryfeddasant pan welsant y fath ryfeddod; ond rhyfeddach etto, fod yr adar hyny wedi dilyn y Saint hyd y ffordd pan gychwynasant eu taith, gan ddisgyn ar eu pedrolfeni, ac o dan eu traed, gan gynnyg eu hunain yn aberthau gwirfoddol i achub bywydau y Saint dan ormes eu herlidwyr. Traether hyn i genedloedd y byd! Dyweder wrth freninoedd a phenaethiaid!! Hysbyser hyn i'r rhai a broffesant gredu ddarfod i Dduw ddwyn Israel drwy'r anialwch yn nyddiau Moses, fel y credont hefyd fod Duw yn y dyddiau hyn, a'i fod mor anwylaidd o'i blant yn *awr* â'r pryd hyny; *ai fod ef yn eu porthi etto pan y mae gormes y gelyn yn annyoddefol.* Efe yw Duw yr holl ddaear; o'i flaen y plyga pob glin, a phob tafod a gyffesa i enw Iesu Grist."

"Er pan ysgrifenwyd yr uchod hysbysir ni drwy y newyddion, fod Cadfridog Taylor, a Santa Anna, wedi cyduno ar ammodau heddwch rhwng Mexico a'r Taleithiau, gan ganiatau i'r Californiaid ryddid crefyddol, ac i ddewis eu ffurf o lywodraeth wladol am yr amser presennol. Dywedir hefyd fod 200 *Dragoons* a gyd deithient â'r '*Mormon battalion*' wedi cael eu galw yn ol, a'r fyddin Formonaidd yn myned yn mlaen tua'r fan dymunol."—*(Allan o'r "Millennial Star.")*

---

## RHYFEDDODAU RHYFEDDAF Y SAITH MIL BLYNYDDOEDD!

PRIF ryfeddodau y fil gyntaf o oes ein byd ni oedd, pechod ein rhieni cyntaf, yr hwn a'u halltudiodd o'r ardd, ac a agorodd y drws i'r holl ddirywiad a welir ar y ddaear, ei phethau a'i phreswylyddion; adeiladu Sion; ac Enoch, ynghyd a'i holl drigolion yn rhodio gyda Duw am dri chan mlynedd, a'u cymmeryd hwy a'u dinas oddiar y ddaear halogedig.

Yn yr ail fil, boddwyd y byd a'i drigolion, ond Noa a'i deulu; adeiladodd ynfydion dwr er dringo i fynu ar ol Enoc; cymmysgwyd yr ieithoedd; rhanwyd y byd yn foroedd ac yn gyfandiroedd; chwalwyd ei drigolion dros ei wyneb, a phoblogwyd yr Amerig gyntaf gan y Jarediaid.

Yn y drydedd fil, boddwyd Pharao a'i fyddinoedd yn y Môr Coch, pan yr aeth Israel, etholedig Duw, drwodd yn droed-sych, ac ei harweiniwyd gan ogoniant dysclaeriol ei Jehofa yn gwmwl niwl a cholofn dân; ac adeiladwyd teml yr Arglwydd yn Jerusalem.

Yn y bedwaredd fil, arweiniwyd deg o lwythau Israel yn gaethion o Canaan, gan Dduw, i ryw wlad na allodd y Cenedloedd ddod o hyd iddynt hyd heddyw: distrywiwyd yr holl Jarediaid am eu drygioni, ac arweiniwyd Lehi gan Dduw i'r Cyfandir Americanaidd.

Yn y bummed fil, ganwyd, croeshoeliwyd, ac adgyfododd, Iachawdwr y byd, a merthyrwyd y mwyrif o'i apostolion am draethu ei genadwri

ef; a dinystrwyd Jerusalem, a thros filiwn a hanner o'i thrigolion; gwasgarwyd y gweddill o'r genedl drwy bedwar cwr y byd hyd y ganrif hon.

Yn y chweched fil, poblogwyd yr Amerig, y wlad ragorach nâ holl wledydd y byd, gan y cenedloedd; cyflwynwyd cyflawnder yr efengyl, drwy lyfr Mormon, i ddynion; sefydlwyd y deyrnas a ragwelodd Daniel, yr hon a lanwai yr holl fyd; a dechreuodd y Saint gasglu ynghyd yn rhagddarpariadol i ail ddyfodiad eu Messia ar gymylau y nef, a'i holl angylion, â fflam dân, i ddial ar holl wrthodwyr ei efengyl, fel yn y seithfed fil y gorphwysai y ddaear, ei chyflawnder adferedig, a'r gweddill o'i phreswylyddion oddiwrth bob gormes, a phoen, a marwolaeth; yr eistedda pob un dan ei wynwydden a'i ffigysbren ei hun, heb neb i'w ddychrynu na'i niweidio, gan addoli yn unfrydol eu Gwaredwr am fil o flynyddoedd, pan y bydd efe yn Frenin breninoedd, ac na bydd frenin arall ond drwy ei osodiad ef, ac yn ddarostyngedig wirfoddol iddo; pryd hyn bydd holl deyrnasoedd y byd wedi dyfod o anghenrhaid yn eiddo i'n Harglwydd ni, a'i Grist ef; a bydd yntau yn Frenin gweledig i'w Saint, pan na ddywed neb o honynt claf ydwyf; ond yn ystod y mil ddiweddaf hon, perffeithir yr holl Saint i fod yn addas breswylyddion o'r nef newydd, a'r ddaear newydd berffaith, ac anghyfnewidiol; a gorphena y perffeithydd ei waith ar y ddaearen fach hon, a symud ei chylch i oleuni mwy tanbeidiawl, ac a ddyry ei deyrnas hon i fyny i'w Dad, fel y byddo Duw oll yn oll, ac oll yn debyg iddo!

Henffych i'r amser da sy'n dod,
Cawn weled ein priod Iesu
Ar gwmwl gwyn, yn fawr ei glod,
Yn dyfod i deyrnasu.

---

## DESGRIFIAD O CALIFORNIA.

"Mae y wlad hon yn gorwedd i'r gorllewin o'r 'mynyddoedd creiglyd', i'r deau o Oregon, i'r gogledd o Mexico, ac i'r dwyrain o'r môr tawdd, yr hwn a olcha ei chyffiniau, o ledred 18° hyd 42° gogleddol. Mae ymddangosiad y wlad hon yn bur ddeniadol. Ar hyd ei goror mae gwastadtir lled uchel, gyda dyffrynoedd gwych a ffrwythlon, o wahanol faintioli yma a thraw; i'r dwyrain o'r *range* uchod y mae gwastadtir yn cyrhaedd o 20 i 150 o filltiroedd o led, o'r dwyrain i'r gorllewin, ac i'r de a'r gogledd ar hyd y wlad. Mae hwn, yn ddiddadl, yn un o'r dyffrynoedd brasaf a ffrwythlonaf a geir o fewn y byd; cynnyrcha gnydau toreithiog yn naturiol o geirch, clover, a llîn. Yn gyffredin tyfa porfa bur a melys arno, yr hwn a hoffa'r anifeiliaid yn fawr; ond y ceirch yn aml a dyfa hyd bump troedfedd o uchder, y clover o ddwy i dair troedfedd, ac y mae y llîn yn rhagorol. Daear y dyffryn hwn yw marl-bridd dwfn, du, a bras; ond yr uwchdir sydd oleuach dywod-dir. I'r dwyrain oddiyma mae dyffryn arall beth llai, ond llawn mor ffrwythlon â'r llall, ar hyd gyffiniau yr hwn y dyrchafa rhestr o fynyddau go uchel; ac i'r dwyrain iddynt hwythau y mae dyffryn mawr arall etto, ac yn dra ffrwythlon hefyd.

Y cynnyrch a dyfa yno yn fwyaf hyd yn hyn ydyw gwenith, yr hwn a ddyry mewn tymmor cyffredin o 30 i 60 o fwsheli oddiar erw, ac ar ol

heuad un bwshel. Hysbyswyd fi gan ffermwr geirwir iddo gael 133 o fwsheli un tro oddiwrth heuad un, a'r ail gnwd oddiar yr un tir heb hau 61 ; ac er mor anhygoel yr ymddengys hyn i bobl y wlad hon, nid oes genyf fi un ammheuaeth o'i eirwiredd, ac nid yw ryfeddach na bod ceirch yn tyfu heb eu hau hyd 5 neu 6 troedfedd. Myfi a deithiais (ebe yr hanesydd) drwy filoedd o erwau o'r cyfryw geirch. Mae y gwenith o ryw da a thrwm ; a'r gwahaniaeth mwyaf rhyngddo a'n heiddom ni yw, fod amryw dywysenau yn tyfu ar yr un gwelltyn ! Dyma un achos o'i ffrwythlonrwydd, er mai yr hinsawdd yw y prif achos, efallai. Tyfa gwenith yr India, ffâ, pys, haidd, *tobacco*, a phob math o lysiau, yma yn doreithiog ; ac nid oes hinsawdd yn y byd, debygwn, yn addasach i *rice, cotton*, a *sugar cane*, nâ California. Y ffrwythydd ydynt afalau, gellyg, *peaches, figs, almonds, olives, dates, oranges, lemons, citrons, pomgranates*, a *grapes;* mewn gair, pob ffrwythau a geir hyd y nod yn y cylchoedd cyhydeddol a geir yma yn hawdd. Cwyna rhai fod yma brinder coed mewn cyfartalwch i'r doldiroedd sydd heb ddim ond porfa a chnydau yn tyfu arnynt; ond yr ydwyf fi yn barnu fod yma ddigonedd o bob math o goed at wasanaeth y wlad, nad pa mor liosog a fydd ei phreswylwyr, heblaw y gellir eu tyfu yn gyflym lle y dewisir.

*Hinsawdd* y baradwys hon sydd yn *Spring* parhaus o'r braidd, o leiaf ni theimlir oerder gauaf, na phoethder hâf, nemawr. Yr achos o'r rhyfeddod hwn yw, y "*trade winds*," pa rai a chwythant o'r gogledd am y chwe mis hafaidd, ac o'r deau y chwe mis cyferbyniol. Weithiau mae yn fwy tymherus mewn rhai parthau hyd y nod yn lledred 28° gogleddol yn yr amser a elwir gauaf. Ni wybuwyd i ddwfr rhedegog erioed rewi yno, nac i ddwfr safadwy rewi hyd drwch gwydr ffenestr. Nid oes angen tanau mewn tai yn y gauaf, ond at wasanaeth y ty, sef, berwi, neu bobi bwydydd. Dechreua y "tymmor gwlawog," fel ei gelwir, yn Tachwedd, ac a barhâ hyd Chwefror, yn mha dymmor ceir cawodydd llesol o wlaw, a'r gweddill yn hîn sych, hyfryd ac iachus. Heuir gwenith drwy'r gauaf; a cheir amryw fathau o lysiau yn wyrddlas drwy'r cyfamser. Pan ddechreua y "tymmor gwlawog," tardda y dyffrynoedd a'r coedydd, ac ymwisga holl natur fel o'r newydd. Gellir cael dau gnwd o rai mathau o yd yn y flwyddyn. Yn Hydref a Ionawr mae y llysiau yn eu llawn flodau ; ac addas y dywedir am y wlad hon fod "Hydref mor hyfryd â Mai." Pryd hyn gwelir gyroedd dirif o anifeiliaid dofion a gwylltion yn ymgasglu, dan lamu a brefu, o'r mynyddoedd i'r dolydd a'r dyffrynoedd gwelltog a danteithiol hyn, ac yn gwancus bori eu melys lysiau gyda llawenydd ymddangosiadol, ac yn gorfoleddu yn y mwyniad cyflawn o barotoadau helaeth natur ar eu rhan.

Am *borfeydd* y wlad hon afreidiol dweyd eu bod tuhwnt i bob peth a welais erioed. Gwelir yma a thraw yroedd dirifedi o wartheg a cheffylau. Perchenoga yr amaethwyr o 1000 hyd 20,000 o wartheg, ac weithiau gynnifer o geffylau ! Prisiau y blaenaf yw o un i bump, a'r olaf o ddau i ddeg *dollar* y pen. Yn gyffredin caniateir i'r hwn a ddewiso ladd y nifer a fyno ond fod iddo ddychwelyd y croen i'r hwn y perthyna y *brand* a fydd arno ; ac os na fydd *brand*, mae'r cyfan yn eiddo ef. Eu prif amcan yn magu y gwartheg yw, er mwyn eu crwyn ; a lleddir miloedd er mwyn y crwyn yn unig. Lladdwyd miloedd o geffylau yma oherwydd eu bod yn lliosogi gormod. Mae yma lawnder o foch ; ac y mae'r defaid yn ddirif ; ac epiliant ddwy waith yn y flwyddyn. Mae

yma lawnder o helwriaeth, megys *elk*, *deer*, *antelope*, *bears*, *foxes*, *martins*, *beavers*, *muskrats*, *seals*, a *rackoons*. Ar fy nhaith drwy y dyffrynoedd, gwelwn weithiau filoedd o *elk* ar un golwg, ac nid llai o *antelopes*. Yn y tymmor gauaf ymgasgla y gwyddau, y chwyaid, a llawer math o adar y dwfr, fel cymylau i'r culforoedd, afonydd, llynau, ac i'r caeau llafur; ac y mae clegar eu gwahanol leisiau a'u syfrdandod braidd yn annyoddefol ar brydiau.

*Afonydd* mawrion a mordwyol sydd yn y wlad hon hefyd; y fwyaf yw y *Sacramento*,* yr hon sydd fordwyol am dros 300 o filldiroedd wrth natur.

Mae pob math o *bysgod* i'w cael yn yr afonydd, a'r culforoedd hyn, yn lliosog.

Am *farsiandaeth* California, anhawdd cael gwell manteision o ran porthladdoedd, &c. Dywedir y cynnwysa culfor St. Francisco† yn unig holl lyngesau y byd yn ddiogel, heblaw fod yno amrai angorfeydd diogel a chyfleus ereill, fel Monterey, St. Diego, Bodego, &c. Yn mhob un o'r manau hyn mae trefydd yn cael eu hadeiladu yn gyflym; a diau y gwelir yma a thraw ddinasoedd cyn hir a gywilyddiant rai cant oed.

*Trigolion* California nid yw dros 8000, dwy ran o dair o ba rai ydynt Indiaid wedi eu gwareiddio; a'r gweddill ydynt *Spaniards* neu *Mexicans*, gan mwyaf negroaid wedi ymgymysgu â phob gwaed, lliw, a graddau; ac oddieithr yr Ewropiaid, a'r Americaniaid, sy'n yn eu plith, mae y trigolion yn bur annysgedig. Bernir nad oes ond tua 500 neu 600 o bobl wynion yn y wlad hon.‡ y rhai a berchir yn fawr.

Er annogaeth i ymfudo yno, caniatâ y llywodraeth i bawb a ddel, ei ddewis o dir, ac ar yr ammodau o fyw yno a'i lafurio. Ceir o dair i naw milltir ysgwar, yn ol rhif y teulu. Sefydlodd yr holl rai a ddaethant yma gyda fi yn y manau a ddewisent.

Yn ddiweddaf, dywedaf nad wyf yn meddwl fod gwlad yn y byd a gynnwysa y fath ddeniadau, nac a ddyry y fath obeithion a manteision i ymfudwyr â California, ac nad oes gwlad dan haul ag y darpara natur gymmaint ar ei rhan, er cynnorthwyo, hapuso, a dedwyddoli, ei thrigolion."—*(Allan o'r " St. Louis New Era.")*

D.S. Difynus i'n darllenwyr fydd hanes y wlad uchod, ac er y dichon ambell un feddwl fod y darluniad hwn rhy dda i fod yn gywir; i'r hyn yr atebwn yn unig nad ymddengys dim o hono rhy anhygoel i ni allu ei gredu; hefyd ni wrthbrofwyd mo hono gan y rhai a gawsant fanteision i wybod nad cywir ydyw.—Gol.

---

## DARLUNIAD O'R BYD CREFYDDOL MEWN BREUDDWYD!

Pan yn teithio o fan i fan drwy y wlad, i geisio llesoli fy nghydgenedl, ac yn cael llawer o ddirmyg ac o wrthwynebiadau ganddynt, un diwrnod troais o'r ffordd i lwyn prydferth i orphwyso. Pan yn myfyrio

---

* Yma yr ymgyrcha y gwersyll blaenaf o'r Saint, ac y mae rhai wedi cyrhaedd eisoes.

† Yma y tiriodd y llongaid cyntaf o Saint a aethant o Gaerefrog oddiamgylch *Cape Horn*.

‡ Ysgrifenodd yr hanesydd hyn tua thair blynedd yn ol. Aeth miloedd yno wedi hyny.

ar y golygfeydd a welswn, sefyllfa ranedig a chymmysglyd y byd crefyddol, a'i debygolrwydd i'r hyn oedd yn amser yr apostolion, yn ddisymwth fe'm goddiweddwyd gan gwsg. Gwelwn fy hunan mewn cae mawr, yn mhlith llu aneirif o bobl o wahanol raddau, oedran, a lliwiau, oll yn cerdded yn ol a blaen yn groes i'w gilydd, gan edrych yn wgus iawn ar eu gilydd, a chroes dynu. Mewn syndod, ymholais ag un a safai gerllaw, beth a allai achosi y fath olygfa? Pwy a pheth oedd amcan y bobloedd hyny? Atebodd, fod yno rai o holl wledydd y byd, ac mai dyna eu dulliau o addoli, a'u bod hwy oll yn dysgwyl cyrhaedd i'r un fan yn y diwedd. Wedi sylwi ar y poenau, y cospau, a'r creulonderau, a arferai y rhan baganaidd o honynt arnynt eu hunain, ac ar eu gilydd, troais ymaith mewn galar dwys, i weled ymddygiadau y rhai hyny a broffesent Gristionogrwydd. Cyn gynted ag yr ymgymmysgais â hwynt, gofynwyd i mi a oeddwn yn feddiannol ar grefydd, ac i ba sect y perthynwn. Eglurais fy nghyflwr yn ddiduedd iddynt, gan ddysgwyl cael cyfarwyddiadau i'r iawn ffordd. Erbyn hyn, amryw a ymgasglasant o'm hamgylch; ac er syndod mawr i mi, dywedai un, fel hyn y mae;—nage, meddai un arall, nyni sy'n iawn; —O na, peidiwch a choelio y rhai yna, nyni sydd yn myned ar hyd y ffordd iawn, meddai ereill: ac felly, aethant ben-ben â'u gilydd. Synais yn fwy etto pan glywn y cyfan, er mor groes i'w gilydd, yn ceisio profi eu credoau yn ysgrythyrol! Fe'm siomwyd fi gymmaint oherwydd eu croes-haeriadau, nes yr oeddwn ar droi ymaith mewn anobaith, pan y daeth ereill yn mlaen ataf i'm cysuro, gan fy ngwahodd yn daer i ymuno â hwynt; a dywedent nad oedd yr hyn yr ymrafaeliai y lleill yn eu cylch ond pethau bychain, disylw, ac afreidiol; ac y cawn fy newis pa un ai eu credu neu beidio, tra byddwn o ddymuniad da; ac ond i mi ymuno â hwynt, y byddai pob peth yn dda. Er yr hoffwn eu haelioni, etto dysgai rheswm fi eu bod yn rhy haelionus ar gost y drefn a osodwyd, nad beth oedd. Gwyddwn y byddai yn rhaid cadw hòno yn hytrach nâ'r hyn a ddewiswn i, na hwythau; er hyny, drwy eu desgrifiadau hyawdl o ogoniant y nef, cariad Duw, a'r lles o fod yn Gristion; drwy eu lleisiau mwyn, a'u canu, swynasant fi i'w dilyn am enyd; ond buan y clywwn ereill yn ymgynhenu, gan ddarlunio poenau uffern yn echryslon, a bygwth pawb nad ymunai â hwynt, mai dyna eu tynghed. Ereill a haerent nad oedd y fath le ag uffern, ond mai poenau dychymygol oedd y cyfan; ac nid oedd nemawr bwnc a broffesai y naill a'r na ddeuai arall i'w wadu. Diflasodd hyn fi, a hysbysais fy mwriad i'w gadael hwynt a'u taeru, ac na thrafferthwn ychwaneg o barthed i grefydd, os dyna'r fath beth oedd yr hyn a enwent yn Gristionogrwydd. Ar hyn, annogasant fi i ymholi â'u dysgedigion, gan addaw y buasai i mi gael goleuni ac eglurhad boddlongar ganddynt hwy. Ond erbyn ymweled â'r naill a'r llall o honynt, ceisient hwythau egluro yr ysgrythyrau yn ol eu credoau; ac am brofion o'r hyn a ddywedent, cyfeirient i ryw lyfrau mawrion, a gwahanol iawn i'w gilydd, pa rai, meddent hwy, a gynnwysent feddyliau a thybiau duwinyddion enwocaf y wlad; ac yn wir, yr oedd eu cywreinrwydd i ysbrydoli ac esbonio eu deongliadau priod mor barod, a'u hyawdledd a'u boneddigeiddrwydd mor ddeniadol, ac fel plastr ar bob clwyf, a'm hawydd innau am grefydd mor fawr, nes y penderfyn-

ais ymuno â'r rhai mwyaf poblogaidd, a nofio gyda'r llifeiriant mwyaf, mewn hawddfyd a pharch. Gadewais heibio ymchwiliad drosof fy hun, ac ymdrechais i gredu ac i ufyddhau iddynt hwy; ond, cyn i ysbryd pleidiol blanu ei grafangau mor ddwfn yn fy nghalon, fel na wrandawwn ar ddim na neb arall, newidiodd yr olygfa, a gwelais fy mherygl. Yn ddisymwth cysgodwyd y lliaws gan gwmwl mawr a rhyfedd yr olwg arno! Clywid rhyw swn uchel a dychrynllyd, yr hwn, er uched oedd twrf y bobloedd cyn hyny, a'u dystawodd, ac a'u llanwodd oll â braw, gan syllu yn graff arno. Ac wele berson tebyg i ddyn yn dyfod oddiwrtho tuag atom. Pawb yn frawychus a ddyfeisient pwy oedd, a pheth fyddai y canlyniadau, o'i ddyfodiad. Dywedai rhai mai arwydd o ddiwedd y byd oedd; ereill a ddywedent, nage; ond credai y mwyrif y cyntaf, oherwydd nad oedd neb i ddyfod mwyach oddifry, meddent, hyd ddiwedd y byd. Ar hyn safodd y bôd dysclaer yn eu canol; ac, yn mhlith ereill, ymwthiais tuag ato i glywed ei hanes, o ba le y daeth, &c. Ond yr unig atebiad a geid ganddo oedd, ei fod wedi dyfod o ryw blaned bell. Sylwais yn graff ar ymddygiad, ynghyd â'r hyn a ddywedai, y dyeithryn hwn; canys llefarai yr un iaith â ninnau. Yn fuan nesaodd dysgedigion y sectau ato, a gofynasant iddo a oedd efe yn credu yn, ac yn feddiannol ar, y grefydd Gristionogol? Atebodd na wyddai ddim am dani, ac na chlywodd erioed son am y fath grefydd o'r blaen; ond ymddangosai yn awyddus i'w deall. Ymdrechai y gwahanol bleidiau ei berswadio mai ganddynt hwy yr oedd y wir grefydd. Yntau a anfoddlonodd yn fawr i'r ymrysonau hyn, ac a ofynodd am eu rheolau, neu safon eu crefyddau, er terfynu y ddadl. Cyrhaeddasant y Bibl i'w law, dan ei ganmol yn fawr, mai llyfr y llyfrau oedd; ac mai ynddo y gwirir yr hyn a ddywedasent wrtho, ac y cai yr efengyl yn bur; ac mai dyna oedd ffynnonell goleuni a gwybodaeth, yr hyn a greodd ynddo awydd mawr i'w ddarllen yn fanwl.

Wedi darllen y llyfr yn ddiduedd, hoffodd yr athrawiaeth a ddarluniai, yn enwedig wedi iddo ddarllen hanes Iesu Grist, dyben ei ddyfodiad i'r byd, yr efengylau, a llythyrau yr apostolion at yr eglwysi. Gorlenwyd ei fynwes o lawenydd pan ddarllenai yr addewidion mawrion a addawent ar ammodau mor gyrhaeddadwy. Ond pan ddarllenodd 1 Cor. xii; Rhuf. xii; Eph. iv, a manau ereill, lle y deallai ddarfod i Dduw sefydlu eglwys ar y ddaear, a gosod apostolion, prophwydi, &c., i'w harwain, ac addaw i'w deiliaid faddeuant, a chyfiawnhad, ac y rhoddai o'i Ysbryd Glân iddynt yn ei ddoniau, megys iachâu y cleifion, llefaru â thafodau dyeithr, cyfieithu drwy'r Ysbryd, prophwydo, gweledigaethau, a gweinidogaeth angylaidd, &c., penderfynodd, ar gost pobpeth, ufyddhau i'r ammodau, a bod yn aelod o'r fath eglwys ogoneddus â hon. Ni ddaeth i'w feddwl i ammau bodoldeb y fath eglwys, ac ni ddychymygodd yn amgen na bod y rhai hyny a broffesent y fath sel drosti, ac a'i hanrhegasant â'r llyfr gwerthfawr a addefasant yn safon a rheol eu heglwys, yn mwynhau y doniau melys a addawai. Gofynodd i rai o honynt ei arwain at un o'u hapostolion, fel yr ymddyddanai ag ef am yr addewidion gorfoleddus hyn. Atebasant ef,—"Apostolion yn wir! nid oes y fath fodau dyeithr â hyny yn ein heglwysi ni yn y dyddiau hyn, na'u heisieu ychwaith." Gwelwn wyneb-

pryd y dyeithryn yn gwelwi, a methodd ddweyd gair am enyd, gan faint oedd ei siomedigaeth. Yna gofynodd drachefn yr un peth, canys ni allai gredu ei fod wedi deall eu hatebiad yn gywir; ond gorfodwyd of i'w gredu yr ail waith, drwy fod y cyfan yn tystio gyda gwên wawdus, mai ffolineb oedd ymholi am apostolion yn yr oes hon. Wedi ymadnewyddu rhywfaint o'i syndod, dywedai, "Wel, wel! os nad allaf gael y fraint o ymddyddan ag apostolion, mae genyf radd o obaith etto: dywed y llyfr a ganmolech wrthyf fi, mai y swyddwyr nesaf atynt yw prophwydi; arweiniwch fi at un o honynt hwy, ynte." Yr ateb i hyn etto oedd gyffelyb i'r llall. Etto, fel dyn am ei fywyd, ymholai gyda'r naill a'r llall, gan bwy o honynt yr oedd yr eglwys a feddai y swyddau a'r doniau a ddesgrifiai y llyfr da hwnw; canys hònai pob un mai ganddynt hwy yr oedd, a'u bod hwy yn credu y llyfr; ond nad oedd neb o honynt yn meddu, yn credu yn, nac yn gweled eisieu apostolion, prophwydi, nâ'r doniau ysbrydol hyny. Cyhuddodd y dyeithryn hwynt oll o fod wedi ei dwyllo yn greulon, drwy roddi darluniad o'r fath eglwys yn ei law, ei annog i'w ddarllen, ac iddo, drwy wneuthur hyny yn ddiduedd, goelio y gallai eu meddiannu; ac yn awr, wele hwythau eu hunain yn eu gwadu! ac yn ei ddarostwng ef, o'r radd uchaf o obaith a llawenydd, i eithafion anobaith, drwy haeru nad allai fwynhau y doniau hyny. Etto, haerent oll wrtho eu bod yn rhodio yn ol y llyfr hwnw! Ar hyn, dywedodd mai pobl rhagrithiol a thwyllodrus iawn oedd trigolion y blaned hon, rhagor yw pobl ei wlad ef. Yr ydych chwi oll, ebe efe, yn dweyd un peth, ac yn meddwl peth arall hollol groes iddo; ac nid mewn dim y cydunwch â'ch gilydd, er pan wyf fi yn eich plith braidd, heblaw eich bod yn gwadu y llyfr yna a broffeswch ei gredu! Dywedai iddo feddwl, pan yr oedd ganddo obaith am y grefydd yna, ei fod, drwy gyfnewidiad ei wlad, wedi ennill mwy nâ gwerth y blaned lle trigasai; ond yn awr, er ei ofid, nid yn unig y mae yn ddiobaith o'i chael, ond y cyfeillion newydd a rhyfedd hyn a'i blinant fwyaf, gan na wyr pa fodd yn y byd i'w coelio am ddim a ddywedant. Gofynai, ai arferiad gyffredin y wlad hon oedd dweyd pobpeth o chwith! Cyffröodd hyn y lliaws i'w erbyn, yn enwedig pan welsant ei fod yn rhy resymol i ymuno â neb o'u pleidiau hwy. Dannododd iddynt eu rhagrith, a dywedai na fynai efe â'r peth a alwent hwy yn Gristionogrwydd; os na chaffai y grefydd a ddesgrifiai y llyfr, y byddai heb un esgus. Ar hyn, casasant ef, a gwaeddasant ar ei ol mai twyllwr oedd efe; ereill a ddywedent ei fod ef wedi gwallgofi, &c.; a'r holl grytiaid drwg â'i lluchiasant â cherig o'u plith hwynt; a'r rhai mwyaf cecrus o'r dysgedigion a waeddent o'r lleoedd uchel yn y dyrfa am iddynt ymogelyd rhag cael eu twyllo gan y dyn drwg hwnw; a phan hysbysasant y werin ei fod ef drwy wrthod eu crefyddau hwy, yn rhoddi sarhad mawr ar, ac yn cyfeirio fod eu holl dadau duwiol wedi myned i uffern, bloeddiasant yn un floullef fawr am dros ddwy awr,—"Ymaith â'r fath dwyllwr haerllug o'r wlad; mawr yw y dduwies fawr a addolodd ein tadau." Diangodd y dyeithryn i ben mynydd, i fan dirgel, yn noeth, newynog, ac archolledig. Minnau, wedi gweled y driniaeth a gafodd, ac mor ddiachos, a dosturiais wrtho, ac a geisiais ei amddiffyn; canys yr oeddwn innau, wrth wrando ei amddiffyniadau ef, a darllen y llyfr, wedi credu yn, ac

yn ceisio dangos i ereill yr anghenrheidrwydd am, yr holl swyddau a'r doniau ysbrydol yn yr eglwys, cyn y gallai fod yn eglwys i Iesu Grist; ac yr oedd cil fy llygaid eisoes yn dechreu agoryd i weled effeithiau tost y dirywiad oddiwrth y ffurf hòno o athrawiaeth ag a draddodwyd i'r byd gan Iesu Grist a'i apostolion; a pha fwyaf a amlygwn o hono i'r werin, mwyaf y cenfigenai eu bugeiliaid wrthyf; galwent finnau yn heretic peryglus; ac, heb un cyhuddiad arall i'm herbyn, troisant fi allan o'u plith, gan rybuddio ereill i beidio dod yn agos ataf, fod pla mwy peryglus arnaf nâ'r gwahanglwyf. Ar hyn, estynent eu bysedd yn wawdus ar fy ol, a dywedent ystoriau anwireddus arnaf, er ceisio duo fy nghymmeriad; ac yna y crytiaid a floeddiasant—"Dyna ddyn yn credu fod eisieu apostolion, prophwydi, a gwyrthiau." "Dyna au-brophwyd," ebe ereill; ac o'r diwedd daeth rhyw un "Parchedig" iawn yno o fan arall, ac a waeddodd—"Gwyliwch rhag y dyn drwg a thwyllodrus yna, canys *Mormoniad* ydyw." Gyda bod yr enw o'i ben ef, dyna efe drwy yr holl benau oedd yno, nes, rhwng eu swn, a'u gweled bawb yn cydio mewn careg, myfi a'r rhai ereill a gredent y Bibl a ffoisom o'u plith am ein bywyd. Ar hyn deffroais, ac wele breuddwyd oedd!

## ENGHRAIFFT O ORMES AR Y SAINT.

Mae yr hyn a ganlyn yn deilwng o'i groniclo yn mhlith gorchestion ein hoes grefyddol:—Yn ddiweddar, ymosodai terfysglu o ddyhirod, gan mwyaf, os nad oll, yn grytiaid proffeswyr, ar dy lle y pregethai y Saint yn Cwmcelyn, gan ddryllio y ffenestri a'r drws â cherig, er aflonyddu yr addoliad. O'r diwedd, aeth gwr y ty i ymofyn cwnstabl o'r enw William Owens, un o'r Bedyddwyr, ac Iforiad, i amddiffyn ei dy rhag yr erlidwyr. Ac wedi i'r terfysgwyr gilio, daeth y cwnstabl yno, bid siwr; a'r modd yr amddiffynodd y Saint oedd, drwy *ddemando coron am ei siwrne!* Ac er pawb, a phob peth, nid âi, ac nid aeth, ymaith ond i ddychwelyd, nes ei chael! Yr esgusawd a gynnygiai dros ei daerineb dinacâd oedd, "oherwydd iddo wirio ar y dechreu y mynai y goron," ebe efe! a gwell ganddo yspeilio ei gymmydog na thori ei air! Gobeithiwn na cheir arall drwy Gymru yn dal at ei air mor dyn â hwn. *Too much of the good thing is good for nothing,* ebe y Sais; felly y gall y dyoddefydd addef, fod gair y llall wedi costio coron iddo ef.

## ENGHRAIFFT I BROFI DWYFOLDEB MORMONIAETH!

Merch ieuanc o'r enw Margaret Jones a weithiai yn ngwaith Thomas Brewer, Ysw., Nantyglo, a fedyddiwyd gan y Saint, ar ei phroffes o'i ffydd yn Mab Duw. Pan ddeallodd y *steward*, William Munkle, hyny, dywedodd wrthi, y troai efe hi o'r gwaith, os na wadai ei chrefydd! Atebodd y ferch na wadai hi ei Harglwydd, serch colli ei gwaith. "Wel," ebe efe, "dos dithau ymaith y fynyd hon; canys yr ydwyf fi, a Tom Brewer, yn benderfynol na chaiff un o'r Saint weithio yn y gwaith hwn tra byddo ein dau lygad ni yn agored!" Anhawdd genym goelio fod boneddig, o gymmeriad a dylanwad Mr. Brewer, wedi ym-

ddarostwng i ymddial ar rai mor ymddibynol, drwy y fath ormes a hyn. Etto, gorfoda y ffaith ni i gredu hyny, yn erbyn ein hewyllys, am ei was ef. Er y cwbl, y gwaethaf o'n dymuniadau tuag ato yw, ar i'r Hwn sy'n cynnal ei "lygaid yn agored," fod yn hir-ymarhous wrtho, nes y delo i weled mewn pryd mai caled yw gwingo yn erbyn y symbylau, a dyfod i weled fod yr hwn a gyffyrddo â phlant Duw yn cyffwrdd â chanwyll ei lygad ef. Cofus genym eiriau Crist,—"Y neb a fyddo byw yn gyfiawn yn Nghrist Iesu a erlidir"

## AT EIN DOSPARTHWYR.

Gwyddoch chwi, anwyl frodyr, am lawer o'r rhwystrau sydd ar ein ffordd i gyhoeddi ein hegwyddorion, ac i'w hamddiffyn, fel yr amddiffyna cewri traddodiad eu caerau, ac yr annelant eu magnelau i'n herbyn o'r pedwar gwynt. Gwyddoch leied ein gwerthiad, ac mai arian parod yw ein harwyddair o'r dechreu (ac ni all fod yn amgen); a thra y diolchwn o galon am eich help hyd yn hyn, taer erfyniwn am eich cynnorthwy a'ch cydweithrediad yn yr amser dyfodol, drwy ymdrechu i werthu y *Prophwyd, &c.*, hyd y galloch; ac, yn enwedig, hwylusech ein ffordd, drwy anfon yr arian am danynt mor gynted ag y galloch, i gyhoeddi y lliaws o draethodau sydd genym ar wahanol bynciau athrawiaethol, &c., eisoes yn barod i'r wasg, a mawr anghen am danynt; canys nid elw yw ein dyben, ond lledaeniad y gwir drwy ein gwlad. Y mae y rhan fwyaf o arian y gyfrol flaenorol heb gyrhaedd hyd yma etto, ond cânt cyflawn roesaw pan y deuant. Cydweithwyr ydym ni oll yn y winllan olaf hon; a diau mai yn ol ein ffyddlondeb yn hyn, fel yn nghyflawniad pob dyledswydd arall, y derbynia pob un ei "geiniog" ar ddiwedd y cynhauaf mawr dan ein dwylaw.

Gellir cael y gyfrol gyntaf yn gyflawn, os gelwir am danynt yn fuan. Os oes rhai o'r rhifyn cyntaf ar law, na ellir eu gwerthu, anfoner yn ol y cyfle cyntaf.

Ymdrechir ateb cwestiynau y dosbarthwyr o barthed i athrawiaeth, dyscyblaeth, a phob peth arall a lesola y Saint, nid er ymryson yn nghylch geiriau, a chwestiynau anorphen, ond er cyflwyno pob llewyrch o oleuni, a gwneyd y lles a ddymunwn i bawb, hyd a allai ein cyhoeddiad bychan hwn.

*** *Cyfeirier at Capt. D. Jones, George Town, Merthyr Tydfil.*

## HYSBYSIADAU.

Ysgymunwyd dyn o'r enw Morgan Thomas, un o aelodau canghen Merthyr, er's tro yn ol, oherwydd troseddiadau gwarthus ac anedifeiriol. Mae yn nodedig yn mhlith y Saint am y drafferth fawr a gaed gydag ef; ac y mae mor ddiddadl ddarfod iddo deimlo cymmaint o nerthol weithrediadau Ysbryd Duw â nemawr ddyn, drwy ei waredu o law y gelyn; ac er hyn oll, clywsom ei fod ef yn awr yn erlidiwr creulon. Druan o hono; gwirir y gair a ddywedwyd, mai "peth ofnadwy yw syrthio yn nwylaw y Duw byw."

Dymuna John Pugh, gynt o'r Llwyni, hysbysu ei fod ef yn galw yn

ol, hyd eithaf ei allu, y camgyhuddiadau a draethodd ar y Saint, ei fod yn canfod ei bechodau yn ysgeler, yn dymuno maddeuant gan y Saint a Duw, ynghyd â chael y fraint o ddod yn ol i'r eglwys, a rhan yn ngweddiau y Saint, fel y gallo ei esiamplau a'i broffes gyd-dystiolaethu i bawb ei fod yn dwyn ffrwythau addas i edifeirwch. Daeth o flaen y cynghor, a gwnaeth adferiad boddhaol i bawb. Ysgrifenodd at eglwys y Llwyni, i'r un perwyl, yn rheolaidd; a da genym hysbysu ddarfod iddynt hwy gymmeradwyo yr eiddo ef a'i wraig.

Dymunwn sylw difrifolaf yr holl Saint ar sefyllfa ein brodyr a'n chwiorydd Americanaidd ag sydd yn alltudion yn yr anialwch, wrth y miloedd, oherwydd tystiolaeth Iesu, a gair Duw, ar y cynllun a drefnwyd yn y cynghor, er eu cynnorthwyo yn eu hanghenion mawrion a lliosog.

D.S.—Newydd eu cyhoeddi genym yn Gymraeg, draethawd, yn profi oddiwrth eu ffrwythau, pwy yw "*Gau-brophwydi y Dyddiau Diweddaf.*"—Pris Ceiniog. Hefyd, "*Beth yw Mormoniaeth?*"—Pris Dimai: Amddiffyniad yn ngwyneb cyhuddiadau haerllug "*Gwcw y Dôn,*" yn y Seren Gomer.—Pris Ceiniog.

*** Gellir cael y llyfrau Saesonaeg a ganlyn yma, gyda gostyngiad mawr yn eu prisiau, am arian parod; sef, *Llyfr Mormon*, 3s.—*Doctrines and Covenants*, 2s. 6d.—*Hymn Books*, 1s. 6d., heblaw amryw draethodau byrion. Hefyd, gellir cael y *Millennial Star* gyda'r *Prophwyd* yn fisol, drwy anfon yr enwau a'r arian, pris 3c. yr un. Cyhoeddir ar y 1af a'r 15fed o bob mis.

---

## BEDYDDIADAU YN MIS MAWRTH.

Drwg genym hysbysu ein darllenwyr nad allwn gyhoeddi pa nifer a fedyddiwyd yn y mis diweddaf, nac yn agos, oherwydd esgeulusdod y llywyddion i anfon y rhif i ni. Hyd yn hyn ni chawsom air o hanner y manau lle y clywsom fod rhai wedi eu bedyddio; ond gobeithiwn mai dyma y tro diweddaf ein gorfodir i gynnyg yr esgusawd hwn; a hysbyswn am yr hyn a wyddom.

*Merthyr.*—Bedyddiwyd naw ar eu proffes o'u ffydd a'u hedifeirwch.

*Dowlais.*—Bedyddiwyd deunaw. Mae y "dyn pechod," mewn llawer dull, yn dangos ei genfigen at y gwir yma, ac wedi methu rhwystro y gonest eu calon i'w gofleidio mewn un dull arall, cynghreiria, fel y gwnaeth yn yr America, pan ar fin trane, gan gyfeirio, awgrymu, a phroffwydo, fod y Saint am wneyd, dweyd, neu feddwl, rhywbeth neu gilydd yn fradwrus yn erbyn rhyw sefydliadau gwladol, gan ewyllysio drwy hyny godi terfysg, neu ryw esgusawd i ddial eu llid ar y diniwed; ac ni'n siomir os cynnydda yr ysbryd hwn yn y mynwesau halogedig a'i magodd, nes y credir gan ereill, ie, ganddynt eu hunain o'r diwedd,—nes yr ystyriant eu bod yn gwasanaethu Duw drwy dyngu anudon i geisio ei brofi! Syned a fyno, gwelsom yr ysbryd hwn yn esgor ar y fath ysgelerder cyn hyn, fwy nag unwaith, ie, nes drachtio gwaed gwirion yn llif bron.

*Pendaran.*—Bedyddiwyd tri yn y mis diweddaf.

*Rymni.*—Clywsom am chwech wedi eu bedyddio. Rhai a fuont yn aelodau, ac ereill yn pregethu gydag enwadau ereill, gyda derbyniad a dylanwad. Mawr yw eu braint.

*Nant-y-glo.*—Clywsom fod amrai; ond ni wyddom pa nifer, nac yn nemawr fan drwy gymmanfa Sir Fynwy.

*Llwyni.*—Bedyddiwyd dau, ac argoelion gobeithiol bod ereill yn caru y gwir.

*Cwmbach.*—Un a fedyddiwyd yma, ereill yn addaw, ac etto yn oedi.

*Treboth.*—Hysbysa y brawd J. Matthews iddo fedyddio dau, a bod galwad mawr am bregethu yn y cylchoedd hyny, a mwy na allant lanw.

*Diewyd.*—Bedyddiwyd pump, gyda dysgwyliad llon am ychwaneg yn fuan.

*Caerdydd.*—Ni allwn rifo, ond meddwl y gallwn ddweyd fod mwy yma nag yn un ganghen arall y mis hwn; ac efallai mai oherwydd fod yno boethach erlidigaeth y mae hyn o lwyddiant. Da genym fod pawb yno yn ilon a chadarn yn y ffydd er y cyfan. Yn mlaen â hi.

*Llanybyddar.*—Mae y *Daniel Ddall* hwnw a'i lyfryn wedi achosi rhyw gyffroad o'r newydd, a mawr y cyrchu sydd i wrando ar bregethwyr y Saint, a llawer yn credu ein crefydd, wedi darllen ei lyfryn ef a'r eiddom ninnau. Yn yr wythnos ddiweddaf bedyddiwyd dau yno. Yr oedd tyrfa fawr yno yn gwrando y pregethu yn siriol a pharchus, ac argoelion fod llawer yn credu. Addawodd dri ereill ufyddhau y Sul canlynol i hyny. Felly gwelir mai gau-brophwydoliaeth yw eiddo *Daniel Ddall*, lle y cyhoedda, "Bydd pawb yn eu gadael cyn hir," er ei fod mor wired â'r gweddill o'i lyfryn braidd oll. Druan o hono, aed yn mlaen os myno; tuedda ei waethaf ef, a phawb o'i bleidwyr, er cynnydd i "Formoniaeth."

*Brechfa.*—Lle arall gerllaw i Daniel ydyw hwn; ïe, lle yr adwaenir ef yn dda. Bedyddiwyd chwech er pan y dechreuodd ddyrchafu ei fraich i'n herbyn.

*Caerfyrddin.*—Yn y fan yr argraffwyd ei lyfryn, ac er dylanwad ei *bartner* hefyd, mae y cyfan yn cydweithio er lledaeniad y gwirionedd, yr hyn a brofa ein bod yn bedyddio mwy yn y manau lle eu hadnabyddir oreu, nag a wnelid o'r blaen yn yr un faint o amser. Bedyddiwyd chwech, a lluoedd yn cyrchu i wrando, er pan ddechreuodd eu herlidigaeth; ac felly y dysgwyliwn y bydd y gwrthweithiad yn y gweithfäau hyn hefyd, a phob man, i'r graddau y darllenant ein hamddiffyniad, a chymharu "Haman" ac ef ei hun yn ddiduedd, a barnu y ddwy ochr yn ol yr ysgrythyrau.

*Rhosllanerchrugog.*—Bedyddiwyd tri yn ddiweddar. Bedyddiodd yr henuriad R. Evans amryw yma a thraw drwy y Gogledd. Hysbysa Abel Evans, wedi ymweled â'r mwyrif o'r eglwysi drwy'r Gogledd, eu bod oll, yn ddieithriad braidd, yn wresog yn yr Ysbryd, yn gadarn yn y "ffydd a roddwyd unwaith i'r saint," yn mwynhau doniau a bendithion mawrion a lliosog yn mhob canghen, ac yn ymestyn yn mlaen tuag at berffeithrwydd. Yr Hwn a ddechreuodd ynddynt y gwaith da, a'u cynnalio ynddo hyd ddydd ein Harglwydd Iesu Grist, yw'n gweddi drostynt oll. Amen.

---

CYNNWYSIAD.



---


MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

JOHN JONES, ARGRAFFYDD, RHYDYBONT.

# PROPHWYD Y JUBILI,

NEU

# SEREN Y SAINT.

RHIF. 11.] MAI, 1847. [PRIS 2*g*.

## Y "*CASAWR* TWYLL" WEDI EI BROFI YN *GARWR*,

### LLUNIWR, A CHYHOEDDWR, "TWYLL" EI HUNAN.

YN rhifyn Mai o'r *Diwygiwr*, tudal. 144, &c., gwelir traethawd hirfaith dan y teitl, "*Y Mormoniaid yn Dwyllwyr*," wedi ei gyfansoddi gan rywun a eilw ei hun, "*Casawr twyll, o'r Coed-duon.*" Er fod yr ysgrif drwyddi yn cynnwys digon o brofion i bob dyn meddylgar, fod ei hawdwr yn teilyngu y cymmeriad a roisom arno, etto lloffwn rai tywysenau o'i lafur, i ddangos yn eglurach y fath gynauaf a all ddysgwyl, ynghyd ag aflendid y cae a gynnyrcha y fath fresych. Y naid gyntaf a ddyry yr awdwr campus i geisio profi fod yn agos i 1500 o'i gyd-ddynion yn Nghymru, heblaw cannoedd o filoedd ereill, yn deilwng o'r cyhuddiad trwm uchod yw, gwaeddi o ben y clogwyn nerth ei ben, "*Gau,*" a pharhau i waeddi "*gau*" ddim llai na phedair gwaith yn ei gychwyniad i frwydr. Ar y pegwn hwn y seilia ei holl gam-gyhuddiadau rhagymadroddol, fel pe buasai eisoes wedi ennill y frwydr cyn saethu ergyd! Ai peth bychan yn ei olwg yw condemnio yn ddibrawf y grefydd hòno ag yr ymorphwysa cynnifer eu heneidiau arni? Os felly, profa mai mor fach fyddai ganddo i ereill wneyd yn gyffelyb â'i grefydd yntau.

### Y "MORMONIAID YN DWYLLWYR."

*Gan*, aiê? *Gan* ba beth, tybied? Ai *gan* mai twyllwyr ydynt? Ond gan bwyll, y carlamwr buan, a phrofwch hyny yn gyntaf, ac yna bydd genym achos diolch i chwi; ond hyd hyny byddai yn llawn mor briodol i ni waeddi, "*gan* mai twyllwr ydych chwi, ïe, bawb ereill." Wedi sylfaenu ei gastell awyrawl ar y gair "*gan,*" pentyra gruglwyth o gamgyhuddiadau yn lle meini, ac a'u dwbia wrth eu gilydd â hylif anwiredd yn lle *morter;* ac felly, nid rhyfedd iddynt gwympo blith draphlith, a'i gladdu yn yr adfeilion,

canys dywedir mai yr hwn a gloddia ffos i'w gymydog a syrthia iddi ei hunan. Wedi cyweirio ei wely yn meddyliau ei ddarllenwyr (fel y gwna y mochyn yn y domen), drwy leisio hen *dune* pob twyllwr, sef "nad o genfigen at y Seintiau," ond o "*gariad at ei gydgenedl,*" y mae y cyfan, rhag ofn iddynt gael eu twyllo, &c. Ond wrth ei ffrwythau y barnwn ni ef, serch hyny; a barned y darllenydd oddiar yr enghreifftiau dilynol o'i frawddegau didwyll a chariadus! pa un ai *casawr,* ynte carwr a chynlluniwr twyll a chamgyhuddiadau yw efe. "Haerant eu bod yn alluog i wneuthur gwyrthiau, &c.," ebe efe. Os yw efe wedi eu canlyn gymmaint, nes cael manteision i ddeall eu twyll, fel y dywed ei fod, y mae yn rhaid ei fod yn deall hefyd mai camgyhuddiadau pwrpasol, a hollol ddisail, yw hyna; neu ynte, pa un bynag a fu ai peidio, mae wedi ei ddala yn anwireddus yn hyn, a dylasai geisio deall yn well beth a greda y Saint, cyn meiddio eu cyhoeddi i'r byd. Ai tybied ei fod mor bendew, fel na wel y gwahaniaeth mawr sydd rhwng y broffes o fod yn addoli y Duw hwnw a addefid yn awdwr gwyrthiau gynt, a'r hwn a addefir etto yn anghyfnewidiol, yr hyn sydd gyfartal ag addef y cyflawna efe (nid dynion) wyrthiau yn awr, â bod dynion yn proffesu gallu gwyrthiol?

Dealled y gwahaniaeth sydd rhwng ei haeriad ef a'r gwir. Cariad at beth a'i cymhellodd i hyn, tybied? Dywed hefyd iddo eu gweled yn methu iachâu un plentyn bach, a chynnygia hyny yn brawf o'u twyll! Yn ol y resymeg yna, condemnia yr holl apostolion oherwydd iddynt fethu bwrw y cythraul o'r dyn hwnw! Ie, profa Paul yn waeth twyllwr o'r hanner nâ'r Saint, oherwydd iddo ef fethu iachâu dau o leiaf a wyddom ni, nad faint ychwaneg, sef Trophimus a Timotheus. Ow, druan! dyma chwi wedi profi eich hun yn gymmaint o "*gasawr twyll,*" nes ymresymu eich hun hyd yn ddeist twyllodrus, a gosod y Saint yn rhestr yr apostolion. Diolchwn i chwi am ein gosod yn y fath gwmni. Yn mhellach, addefwch efelychiad y Saint o'r apostolion, drwy eu hufydd-dod i'r defodau dwyfol o eneinio ag olew, gosod dwylaw, &c. Ond pa dwyll sydd yn hyny, rhagor yn yr honiad cyffredinol a wna pob enwad i'r defodau apostolaidd ereill? Awgrymwch mai twyll oedd i'r fam geisio gan henuriad eneinio ei phlentyn er ei iachâu; o'r goreu, tadogwn ninnau y "twyll" ar Iago, a bydded rhyngoch chwi ag ef, canys efe a orchymynodd, pen. v, adn. 14,—"A oes neb o honoch yn glaf, galwed ato henuriaid yr eglwys, ac eneiniant hwy ef ag olew," &c. Wele chwithau, fel pob deist arall, yn ben-ben ag apostol, drwy wawdio y Saint am ufyddhau iddo! Yn awr, ai y Saint, ynte chwychwi, yw y twyllwr sy'n proffesu rhith duwioldeb, ac yn gwadu ei grym hi? Beiwch ar y gweinyddwr, am ofyn i'r fam a oedd ei ffydd yn gref y cawsai y plentyn iechyd. Pa dwyll a ddichon fod yn hyny, heb addef fod cymmaint twyll yn Iesu Grist, pan y gofynodd yr un fath i'r deillion hyny,—

"A ydych chwi yn credu y gallaf?" ebe efe, Mat. ix, 27—30. "Yn ol dy ffydd bydded i ti," ebe efe wrth arall, Luc xviii, 42. Dywed hefyd, "DY FFYDD (nid fy ffydd i, ond *dy ffydd dy hun*) a'th iachaodd." Hefyd, ni feiddiai Paul ddweyd wrth y cloff hwnw yn Lystra am rodio, nes "syllu yn graff arno, a gweled fod ganddo [y cloff] ffydd i dderbyn iechyd." Nid rhyfedd i chwi alw yr henuriad yn dwyllwr fel hwythau, gan iddo arferyd yr un geiriau.

"Yfodd yr henuriad beth o'r olew ei hunan," meddwch. *Wel done!* gofalus iawn yn wir, rhag ofn fod ynddo niwed i'r plentyn. Am y "tywallt" ar ben y plentyn, tipyn o *slip* tafod oedd hyny, fel y "*Daniel Ddall*" hwnw a ddywed fod yr olew wedi rhedeg ar hyd ei ddillad, pan mewn gwirionedd, eneinio â phen bys a feddylient, neu a ddylasent ddweyd. Pa dwyll sydd yn hyn etto? Gan mai ceisio gafael ar y twyll yw ein gwaith, fel y diwygiom, sylwn yn graff, canys hyd yn hyn metha Mr. "Casawr Twyll" amlygu i ni namyn ei dwyll sectyddol ei hun. "Wedi gweddio gweddi y ffydd, dywedodd fod y plentyn yn iach," meddwch. Wel, a fuasai efe mor ffol â dweyd hyny, oni buasai y plentyn yn iach? Pa les a fuasai? Oni welsai pawb nad gwir oedd? Dyma addefiad o allu Duw yn selio eu hufydd-dod i'w ordinhadau drwy iachâu yr afiach. Da iawn, Syr. Addefwch hefyd, o'ch anfodd, "efallai ei fod," yn iach. Nid yw eich bod wedi ei weled yn glaf y Mercher canlynol yn un prawf na allasai wella dair gwaith yn y cyfamser. Etto, pe na buasai yn gwella, ar bwy y buasai y diffyg, ai ar y gweinyddwr? Os felly, ar Paul yr oedd y bai na wellasai Trophimus a Timotheus, ïe, ar Iesu Grist, medd eich rhesymeg, na wellaodd llygaid y dyn dall y tro cyntaf y rhoes glai arnynt: felly cwplwch yr henuriad â chwmni apostolaidd o hyd, a dylai yntau fod yn ddiolchgar iawn i chwi am yr anrhydedd a rowch iddo. Wedi chwilio yr enghraifft, a methu gweled dim tebyg i dwyll y Saint, yn awr dangoswn y twyll a'i goleddwr yn eglur, fel hyn,—"Gwelais hwynt yn methu llwyddo i iachâu y cleifion," ebe efe. Cymharer hyn â'r dystiolaeth a addefa ddarfod i'r fam roddi iddo. Dywed ei bod yn credu, a'i sail oedd am fod ei phlentyn arall wedi cael iechyd drwy i'r henuriad arferyd yr unrhyw foddion. Os gwir tystiolaeth y fam, yr hyn ni chynnygia efe wrthbrofi ychwaith, (a pha fodd y gall?) yna gwelir y twyll yn eglur; ïe, dyma y twyll, a'r *bwcci bw* mawr y cyfeiria ato, ond gyda hyn o wahaniaeth ar yr un pryd, mai Mr. "*Casawr twyll*" yw ei dadws, ac arno ef y tadogir hefyd y twyll anwireddus. Diolch i chwi, Mr. Twyllwr, am ddangos eich hun mor gyhoeddus, fel y'n gwareder rhagoch!

"YSBRYD Y BROPHWYDOLIAETH."

Am y "*Daniel dywyll,*" y soniwch, darllenwch ei hanes a gyhoeddasom eisoes, a chewch weled eich *partner* erlidgar fel "*Haman yn*

*hongian ar ei grogbren ei hun,*" nes y ffieiddia pob carwr y gwir ef a'i ystranciau drwg; a gwir yw fod mwy o'i gydnabod wedi ymuno â'r Saint wedi, na chyn ei branciau, yn ol yr herwydd. Mae pob peth yn cydweithio er daioni i'r gwir. Yn nesaf, gwawdia ein hawdwr y Saint, am broffesu "Ysbryd y Brophwydoliaeth." Ond gan bwyll bach etto, nes y chwiliwn ei reol ei hun, er gweled pa un a'i *gwadwyr* ynte *proffeswyr* ysbryd y brophwydoliaeth a deilynga ddedfryd twyllwyr. Gofynwn, beth yw "Ysbryd y Brophwydoliaeth?" Ateba Ioan, Dat. xix, 10, "Canys tystiolaeth Iesu ydyw ysbryd y Brophwydoliaeth." Pa fodd y gall neb hòni y naill a gwadu y llall, ynte, heb ei wrthddywedyd ei hun, neu Ioan? Dywed Paul yn 1 Cor. xii, 3, "Ac ni all neb ddywedyd (h. y. tystiolaeth, neu adnabod) yr Arglwydd Iesu, ond drwy yr Ysbryd Glân." Dywed Iesu Grist yn Ioan xvii, 3, "A hyn yw y bywyd tragywyddol, iddynt dy *adnabod* di yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist." Felly, digon yw y *gwadiad* o "ysbryd y brophwydoliaeth," i brofi anadnabyddiaeth y gwadwr o Iesu Grist, a thrwy hyny ei ddieithrwch i Dduw, canys nid oes neb yn dyfod at y Tad ond trwof fi, ebe Crist. Felly profa y gwadwr ysbryd y brophwydoliaeth ei hun heb Grist, heb Dduw yn y byd, ïe, heb ddim ond twyll rhagrithiol hyd yma! Amheuwch y resymeg o'r ysgrythyrau yna os gallwch, neu galwch eich haeriadau gwawdus yn ol, Syr. Erbyn hyn, wele ni wrth grogi yr anffyddiwr hwn â'i raff ei hun, eisoes o'n hanfodd wedi dwyn ei holl bleidwyr a'i gefnogwyr ar yr un *scaffold!* Druain o'r "Parchedigion" a gyhoeddasant eu dedfryd eu hunain yn eu '*Diwygiwr.*' Ai tybied na *ddiwygient* pe gollyngai eu darllenwyr y gorden oddiam eu gwddf unwaith etto? O'n rhan ni, ni allwn eu gollwng, ac ni ollynga y Bibl hwy, nes y gwnant naill ai addef ysbryd y brophwydoliaeth, neu beidio dringo i bwlpudau i groch-lefain gyda gwynebau hirion a rhagrithiol, fod y Mormoniaid yn dwyllwyr, a'u bod hwythau yn dystion Iesu, yn weision i Dduw, &c. Rhaid fod haeru yr olaf, a gwadu y cyntaf, yn wrthddywediad hollol! Ai tybied na chywilyddia y *Parchedig* Olygydd o haeru ei fod yn was i Iesu Grist byth mwyach, hyd nes y caffo y cymhwysderau anhebgorol i hyny, sef "Ysbryd y Brophwydoliaeth" hwnw a wawdir gymmaint? Trown etto at Mr. "*Casawr Twyll,*"—"Haera y Saint eu bod yn gwybod pethau a fu, y sydd, ac a ddaw," ebe efe. Wel, ni honant drwy hyn, ond yr hyn a addawodd eu blaenor geirwir iddynt yn ol eu hanghen, Ioan xvi, 13. Addawai, "pan ddel efe, sef Ysbryd y gwirionedd (sef yr Ysbryd Glân, sef, 'Ysbryd y Brophwydoliaeth') efe a'ch tywys chwi i *bob* gwirionedd." Etto, "a'r pethau sydd i ddyfod a fynega efe i chwi." Onid yw hyn yn cynnwys addewid o wybodaeth o'r "pethau a fu, y sydd, ac a ddaw," awgrymir y cyfan yn a ganlyn: "Eithr y Dyddanydd yr Ysbryd Glân, yr hwn a enfyn y Tad yn fy enw i, efe a ddysg i chwi *yr holl bethau, ac a ddwg ar gof i chwi yr holl bethau* a ddywedais i chwi." Etto, dywed, "Ysbryd y gwirionedd, yr hwn sydd yn deilliaw oddiwrth y Tad, efe a *dystiolaetha* am danaf fi." Paham, Syr, na adewch iddo yr un rhyddid i amlygu yr hyn a ewyllysia i'r Saint yn awr fel cynt? Atebed a allo! O'r gyfrol santaidd anturiwn herio ein holl wrandawwyr i ateb paham! Hyd yma mae y 'casawr twyll' yn addef proffes y Saint yn ysgrythyrol, ac ar ei

wadiad ei hun profir ef yn wadwr yr ysgrythyrau! canys cofier mai y *broffes*, a'r *gwadiad* o Ysbryd y Brophwydoliaeth sydd dan sylw hyd yma. Yn nesaf, sylwn ar ei wrthbrofion, a pha beth ydynt? Dim ond ei *haeriadau*, pa rai a brofwyd eisoes yn annheilwng o grediniaeth. Er mwyn ei ddala yn ei rwyd ei hun, addefwn hyd y nod hyny, a chawn ddarfod i ryw *un* (o gannoedd o filoedd) brophwydo y bedyddid rhyw nifer mewn rhyw amser nodedig. Ar yr un anadliad addefa fod chwech o'r nifer wedi cael eu bedyddio. Go dda, onide! A allasai efe ei hun ragddywedyd cymmaint o wir, tybied? Gwael yw'r argoelion yn awr. A phe na buasai un yn dod yn mlaen, pa brawf gwell fuasai hyny fod y "Mormoniaid yn dwyllwyr," nag a fyddai ei brofi ef yn dwyllwr yn brawf fod yr holl annibynwyr yn dwyllwyr? neu oni fyddai yr un resymeg yn profi fod pob colofn drwy'r *Diwygiwr* yn gamgyhuddiadau enllibus oherwydd fod y colofnau hyny a lanwodd efe yn gyfryw! Rhesymeg wyrgam fyddai hon, onide? Etto, dyma ei resymeg oreu ef i brofi y Saint yn gaubrophwydi. Cofier hefyd nad oedd hyd y nod Paul yn hòni perffeithrwydd prophwydol; ond, "O ran y gwyddom, ac o ran yr ydym yn brophwydo," ebe efe. Nid oedd yr Ysbryd Glân yn anmherffaith, ond ei ysbryd cyndyn ei hun a wrthryfelai yn erbyn y dylanwadau dwyfol, oherwydd llwgr dynoliaeth, a'r hyn a farweiddia yn gyfartal i gynydd ei ddealltwriaeth am y llall; ac i'r graddau hyny yr oedd cywirdeb ei brophwydoliaethau. Etto ni chredwn i neb o'r Saint ddweyd wrtho, ddarfod iddynt brophwydo dim yn debyg. Os gwnaed, dyna y tro cyntaf i ni glywed am y fath beth; ac er holi pob un, braidd, methasom gael allan sail i'w haeriadau, na bod y fath ddyn wedi bod yn eglwys y Coed-duon, Victoria, nac un man arall, oddieithr ei fod yn byw yn Dowlais, y *factory* lle y gweuir y fath rwydau yn rhad.

O barthed i'r Henuriad Jones, y cymmerwch ei enw yn ofer, nid oes ond un yn y cylchoedd hyny, a gwada yntau yn sobr, na ŵyr am y sail leiaf i'ch haeriadau. Am y 'W. Thomas,' hwnw sy'n egnio cymmaint i 'egluro y twyll'; aed yn mlaen, druan, mor gyflym ag y gallo; ymegnio i egluro ei dwyll ei hun fel chwithau y mae. Dysgwyliwn ei weled yn dod â'i dwyll gerfydd ei gynffon, neu fel seren wibiog drwy awyrgylch y *Diwygiwr* can gynted y caffo afael arno, yn ol arferiad gyffredin y rhai a ysgymunwn. Syndod fel y gwibiant naill ar ol y llall drwy *groniclau* crefyddol ein '*hoes grefyddol*' ni, ar oll o '*gariad* at eu cydgenedl,' wrth gwrs! Ond rhwbiwch eich llygaid, ddarllenwyr, a gwelwch pa le y maent oll wedi myned. Oll fel y sêr gwibiog i eigion y gwagle yn mhlith y pethau a fu, heb adael ar eu hol ond sawyr afiach i ystaenio eu coffadwriaeth; ac felly y bydd etto. Mae yr oll a ddywedir i ni oddiwrth fodoldeb y fath ddyn a'r W. F. hwnw, yn cynnwys fel yr *Almanacs*, 'peth gwir a pheth celwydd' am ei lwyddiant rhyfeddol, nes y metha y Saint '*dwyllo*' neb yn rhagor yn yr ardal hono: mae yn wir gan mwyaf; canys nid y'nt wedi ceisio '*twyllo*;' ni ddarfu i'w crefydd '*dwyllo*' neb yno; ac ychwaneg etto, mae yn anmhosibl iddi *dwyllo* neb yno, nac yn un ardal arall; oherwydd y mae yn hunan brofiedydd o'i didwyllder i bob dyn gonest â'i profo yn ddiragfarn a theg, fel y tystia degau o'r Saint hyd y nod yn y *Coed-duon* yn eich gwyneb chwi, Syr, a'r Mr. Thomas y

soniwch am dano: a pheth yw eich haeriadau chwi yn ngwyneb mwy na deg am un o dystion profiadol a chymmeradwy? Ond etto, yn yr ystyr gystrawenol a roddwch chwi i'ch haeriad, mae yn anwiredd gwybodus i chwi, Syr, oherwydd dylech chwi a'ch cymmydogion fod yn gwybod, fod y Saint wedi bedyddio mwy yn y cyfamser er pan y'ch chwi a'ch *partner* yn eu herlid, nag erioed o'r blaen! Oni wyddech chwi ddarfod iddynt fedyddio pump yn ddiweddar mewn ystod byrach na hyny o ddyddiau, heblaw llawer ar brydiau ereill? A phaham y meiddiwch gyhoeddi eu bod yn methu cael 'NEB *yn yr ardal hòno?*' Ie, yn ngwyneb eich cymmydogion oll a wyddant well, neu a ddylent! Felly chwychwi eich dau sy'n methu twyllo neb i beidio ufyddhau i'r gwirionedd; dyna'r cwbl; ac yna ymddialwch drwy'r *Diwygiwr*, aie! gwaeth etto, gwnewch hyny oll o 'gariad' hefyd!! Gato pawb rhag y fath '*gariad*,' fel rhag gwenwyn dreigiau! Neu yn mlaen â hi nes y cyffrowch holl rai gonest a charwyr y gwir i'w brofi a'i gofleidio fwy fwy; canys nid oes perygl i chwi allu twyllo neb o'r cyfryw. Enghraifft arall o'ch twyll anwireddus yw eich haeriad o 'fod y Saint pan fedyddiant un, yn galw cynghor ac yn prophwydo i ba swydd y galwodd Duw ef. Heriwn chwi i brofi hyna am un waith yn rhywle! Ni allwch. Ond ni raid i ni ei wrthbrofi; profa ein rheolau, pa rai a gyhoeddasom eisoes yn Gymraeg, ac sydd gerbron y cyhoedd, na elwir ein pregethwyr ond yn ein cymmanfäoedd; ac nid yno drwy y prophwydo am yr hwn y soniwch chwi. Os buoch erioed gyda y Saint (yr hyn a amheuir yn fawr) rhaid eich bod yn gwybod gwell na'ch haeriad. Yn enw gwirionedd pa le yr alltudiasoch eich rheswm pan yn camddarlunio eich cyd-ddynion fel hyn? profwch eich *cariad* drwy eu galw yn ol.

TWYLL-YMRESYMIAD EGLUR.

Am y T. Smith y dywedwch iddo gael ei urddo yn offeiriad yn uniongyrchol, y mae mor gywir â'r lleill o'ch haeriadau; yn lle iddo feddwi a chael ei ysgymuno yn mhen y *dau fis*, fel y dywedwch chwi, ni bu hyny am gynnifer a hyny o *flynyddau!* Ac yn lle cael ei alw a'i urddo yn '*uniongyrchol*,' ni alwyd ac ni urddwyd ef am dros ddwy flynedd a hanner wedi ei fedyddio! Onid '*cenfigen*' atynt a'ch cymhellodd i hyn, Syr? Pwy a'ch coelia! Mae cannoedd a dystiant i hyn drwy'r cylchoedd yma hyd heddyw. Ond, pe y galwesid ef mor fuan ag y dywedwch, a fuasai ei bechod a gyflawnodd *wed'yn* yn profi ei anaddasrwydd *blaenorol?* Os felly, condemnia eich rhesymeg chwi hyd y nod Iesu Grist am alw Pedr neu Judas; bid siwr fod trosedd y naill yn dangos y twyll o'u galwad fel y llall! Dyma chwi wedi gosod Iesu Grist yn waeth na'r Saint ogymmaint ag iddo alw *dau o'r fath ddynion!* Pwyswch bregethwyr enwadau ereill yn y glorian y pwyswch ynddi J. Smith, a cheiff cryn gwmni, ïe, nid yn unig Pedr a Judas, ond hefyd Dafydd, Solomon, Lot, Noah, ac Adda. Yn mhellach etto, cofrestrwch 'Lucifer, y Seren foreu,' yn yr un rhestr â'r rhai yna. Cwmni rhyfedd, onide! A oedd pob un o'r rhai'n yn ddrwg cyn pechu? Os nad oedd, pa fodd y profir yr hwn a enwch chwi yn anaddas ynte? Diolch i chwi o dan un, am addef dirwestiaeth ein rheolau, drwy addef na adawn i feddwyn aelodaeth, llawer llai swydd yn

ein heglwys foesol a phur. Rheolau lled *strict*, onide? Ai tybied nad yw ein dyscyblaeth mor llym yn erbyn pechodau ereill? Ac felly pa le mae y twyll? gofynwn etto: ond yn ofer fyth. Mor hawdd gan dwyllwyr waeddi 'twyll,' 'gau-brophwydi,' 'gau-athrawon,' 'penboethiaid y dref': felly chwithau. Wrth eich ffrwythau sefwch chwithau, yr hwn a brofwyd yn euog o'r hyn y cyhuddwch y dieuog o hono. Yn nesaf darlunia gyfarfod eglwysig y Saint ar brydnawn Sul: ymdrechwn gael gafael a'r *dwyll* y peth hwnw ynte. Addefa i'r offeiriad ddechreu y cyfarfod drwy *ddarllen a gweddio*;' os twyll hyny, y mae pob crefyddwyr gymmaint twyllwyr â'r Saint. Dyma y tro cyntaf i ddyn a feiddia alw ei hun yn '*gasawr twyll*,' ein dysgu mai twyll yw *darllen* y Bibl a *gweddio?* Etto, rhaid mai twyll yw hyn, canys dywed fod yn 'amlwg mai twyll yw yr OLL yr ymwnant (y Saint) ag ef!' Yn ol y resymeg hon profir y golygydd Parchedig a gyhoeddodd hyn yn dwyllwr, bob cyfarfod a gadwo. Ni feiwch hwynt fwy nac ereill, am 'ymdrechu lliwio [y gwirioneddau a gredent] yn y modd harddaf er denu eu gwrandawwyr i'w garu'; canys eu braint hwy fel ereill yw hyn, 'ar ol eu bygwth yn ofnadwy, am eu bod yn caru y tywyllwch yn hytrach na'r goleuni, a oeddent hwy yn ei ddangos iddynt,' ebe efe. Dyma addefiad cywir o'r goleuni: pa dywyllwch y rhybyddient i'w ochelyd? Nid tywyllwch traddodiadol, oherwydd yr oedd y ffaith o'u presennoldeb yno yn profi hyny yn afreidiol; beth ond troseddau o'r rheol santaidd a ddarllenasant ar ddechreu y cwrdd, lle y rhybuddient i ochelyd rhagddynt! Da iawn etto, wrth gofio mai o genfigen yr addefwch hyn oll. Pa dwyll sydd yn annog pobl i beidio pechu! annoga Paul Timotheus i fod yn daer mewn amser ac allan o amser, i bregethu, argyhoeddi, ceryddu, &c., oherwydd rhagwelai yr amser pan na ddyoddefent athrawiaeth iachus, eithr yn ol eu chwantau eu hunain y pentyrant iddynt eu hunain [nid wedi eu hanfon gan Dduw drwy Ysbryd y Brophwydoliaeth, &c.] athrawon. Gan fod eu clustiau wedi merwino oddiwrth y gwirionedd, y troant ymaith eu clustiau [fel y gwna Mr. 'Casawr Twyll,'] ac at chwedlau y troant, sef cyffelyb chwedlau ag a gyhoeddwch chwi a sectariaid ereill o '*gariad*,' *alias* CASINEB, at y gwirionedd. Yn awr, Syr, gofynwn, ac atebwch chwithau y gwir am unwaith i'ch cydwybod, pe buasai Paul yn gymmydog i chwi yn y Coed-duon, yna, a allasai efe eich darlunio yn gywreiniach, meddwch chwi? Serch gwadu prophwydoliaethau eich cydoeswyr, rhaid i chwi addef geirwiredd a chyflawniad manylaf yr eiddo Paul, ar eich cyflwr eich hun. Pa le y mae y twyll yn cyfarfod?

[*I'w barhau.*]

---

## "RHODD MAM," NEU Y CATECISM CYNTAF I BLANT Y SAINT.

BETH yw dyn?—Hiliogaeth Duw.
Pwy yw Iesu Grist?—Brawd i ni.
Beth yw dyn yn ei ddechreuad?—Baban analluog.
Beth yw yn ei faintioli?—Un o feibion Duw.

Beth yw yn ei berffeithrwydd moesol?—Cyffelyb i Grist; a Christ yn gyffelyb i Dduw: a'r oll un gymdeithas ydynt.

Pa sawl bywiolaeth sydd i ddyn gael?—Bydd fyw mewn tair bywiolaeth.

Beth yw y gyntaf?—Bywyd ysbrydol.

Beth yw yr ail?—Bywyd tymmorol.

Beth yw y drydedd?—Un anfarwol a thragywyddol.

Pa fodd y dechreuodd fyw yn y gyntaf?—Cenedlwyd a ganwyd ef o Dduw.

Pa fodd y dechreuodd fyw yn yr ail?—Cenedlwyd a ganwyd ef o'r cnawd.

Pa fodd y dechreua fyw yn y drydedd?—Drwy adgyfodiad oddiwrth y meirw.

Beth yw ei dynghedfen dragywyddol ef?—Bod ar ddelw Duw, a chydag ef.

Cyffelyb i beth yw dyn heb ddadguddiadau?—Fel llong mewn niwl heb lyw na chwmpawd.

I beth mae yn debyg pan gaffo ddadguddiadau dwyfol?—I *lamp* yn llawn o oleuni; arddengys wirionedd am bob peth.

Beth yw Ysbryd dyn?—Canwyll Duw.

Pa fodd y goleuir hi?—Gan Ysbryd Duw.

Pa sawl Duw sydd?—"Mae arglwyddi lawer, a duwiau lawer, ond i *ni* nid oes ond un Duw."

Pa sawl nefoedd sydd yn bod?—Maent yn ddirifedi.

Pa le y bydd nefoedd y saint?—*Ar y ddaear;* ac ar bob sêren a phlaned berffaith.

Beth mewn gair yw Mormoniaeth?—Cyfundrefn o wirioneddau dwyfol.

Beth yw ei hoedran?—Nid oes dechreuad dyddiau na diwedd einioes iddi yn bod.

Beth yw ei thynghed?—Llanw y ddaear a'r nef â gwybodaeth a chariad perffaith.

Pwy yw Joseph Smith?—Brawd Iesu Grist yw efe.

O ba le y tarddodd ei awdurdod?—O'r drydedd nef drwy angylion.

I wneuthur pa beth ei danfonwyd?—I sefydlu teyrnas dragywyddol i Dduw, pregethu efengyl yr hedd, a chyhoeddi gwawr y Jubili fawr i bawb a gredo.

Pa lwyddiant a gaiff ei genadwri?—Llwyddiant cyffredinol, nes y bydd gwybodaeth yr Arglwydd yn amdoi y byd, fel y tôa y dyfroedd y môr.

Beth os ceisia dynion ei wrthwynebu?—Ni lwyddant; ond byddant fel mân lwch y clorianau.

Paham hyny?—Oherwydd fod y Duw mawr a chadarn wedi deffroi fel o gysgadrwydd oesoedd i wneyd ei waith.

Beth yw holl ffurfiau politicaidd y byd?—Y ddelw fawr a welodd Nebuchodonozor.

Beth yw ffurfiau crefyddol y byd hwn?—Y Babilon ysbrydol hòno a welodd Ioan, (pan oedd ar ynys Patmos,) yr hon oedd yn llawn o enwau cabledd.

---

## CYMMANFA MERTHYR.

A gynnaliwyd yn *Neuadd y Cymreigyddion,* Sul, a Llun, y 18fed a'r 19eg o Ebrill, fel y canlyn :—

Am hanner awr wedi deg o'r gloch y boreu etholwyd Capt. Jones yn llywydd yn unfrydol, yr hwn wedi dechreu y Gymmanfa fel arferol, trwy ganu mawl a gweddio, a anerchodd y dorf yn wresog, gan ymhelaethu ar bwysfawrogrwydd a defnyddioldeb y gwaith gogoneddus a ymddiriedwyd i ni ; ac a ddangosodd y gwahaniaeth mawr sydd rhwng cyfundraethau dynol a chyfundrefn berffaith teyrnas Dduw. Profodd mai dynion yn gyfartal i'w doethineb a gyfansoddant ac a berffeithiant y blaenaf; ond, mai y gyfundrefn olaf hon sydd i berffeithio dynion ; neu fod y naill yn perffeithio ei deiliaid, a'r lleill yn cael eu perffeithio *gan* eu deiliaid anmherffaith! Fod yr olaf mor afresymol ag a fyddai i ddyn geisio codi ei hun oddiar y llawr,—ni ellir dysgwyl gan ddynion ond yn ol y ddoethineb a feddant,—na all neb drefnu cynllun i'w berffeithio ei hun, nac o ganlyniad i berffeithio arall yn well na'i hunan, ddim mwy nag y dichon y ffrwd ddyrchafu goruwch ei ffynnonell. Yn gydfynedol â'r rhesymeg hon, amlygodd y llywydd fod *Mormoniaeth* yn sylfaenedig ar safle dwyfol, a bod y bywyd a'r nerth hyny yn ei holl wythïenau, ei gïau, a'i chymmalau, o'i phen i'w thraed; a'i bod yn llesoli pawb drwy, yn gystadl yr iawn ddealltwriaeth o honi â'r iawn ymarferiad â hi. Ar y pryd daeth y llywydd F. D. Richards o'r America i mewn, heblaw J. Holiday, Kendall, Webb, ac ereill o Loegr, a chawsant y neuadd wedi ei llanw o wrandawwyr siriol a golygus. Galwodd y llywydd ar gynrychiolwyr yr holl ganghenau i hysbysu eu rhifedi, eu hansawdd, &c., yr hyn a wnaed fel y canlyn :—Rhif y canghenau yn nghynnadledd Morganwg yw 18 ; Henuriaid 34 ; Offeiriaid 48 ; Dysgawdwyr 38 ; Diaconiaid 17. Bedyddiwyd er y gymmanfa flaenorol (3ydd a'r 4ydd o Ionawr diweddaf) 220. Y cyfan yn gynrychioledig yn y gymmanfa hon yn awr yw 965. Dangosai y llywyddion fod sefyllfa ac ansawdd eu canghenau yn gysurus, llwyddiannus, a gobeithiol; a'u bod oll, bron yn ddieithriad, mewn undeb, cariad, a chwlwm tangnefedd, ac yn mwynhau doniau a dyddanwch yr Ysbryd Glân yn ol eu ffyddlondeb a'u diwydrwydd. Wedi hyny anerchodd y Brawd Richards y cyfarfod yn fyr a chynnwysfawr yn Saesoneg, a therfynodd y cyfarfod boreuol drwy weddi a chanu.

Am 2 o'r gloch yr oedd cyfarfod eglwysig i'r Saint yn unig, a'r Neuadd yn llawn iawn o honynt. Derbyniwyd i'r eglwys dri a fedyddiasid, ac yna gweinyddwyd yr ordinhad o Swper yr Arglwydd i'r cwmni lluosog, y rhai a ymddigrifent yn y mwyniant o gariad Crist yn eu gobeithion, ac yn llawenydd yr Ysbryd Glân. Eglurhaodd y Brawd Richards ddybenion a defnyddioldeb yr ordinhad, ac annogodd y Saint i undeb, ffyddlondeb, a chariad. Dangosodd ddaioni Duw tuag at ei Saint yn yr America. drwy waredigaethau rhyfeddol o law eu gelynion,—eu porthi yn wyrthiol yn yr anialwch, a'u cysuro dan bob erlidigaethau ; ac anerchodd y llywydd y cwrdd i'r un perwyl yn Gymraeg, a therfynodd y cyfarfod drwy weddi.

Dechreuwyd y cyfarfod hwyrol gan yr henuriad Thomas Pugh,

Anerchodd y llywydd y dyrfa luosog, gan eu gwahodd i ufyddhau i'r efengyl dragywyddol ar frys; dilynwyd ef gan Thomas Pugh ar natur a swyddau yr eglwys apostolaidd, &c. Yna y Brawd Richards a ddangosodd pwy yw plant Abraham, wrth pwy sy'n efelychu eu tad Abraham, pwy sydd o ffydd Abraham, a phwy sydd yn gwneyd gweithredoedd Abraham; fod Abraham wedi ymadael â'i gartref i edrych am wlad, nid felly neb ond y Saint. Arweiniwyd Abraham a'i deulu drwy ddadguddiadau dwyfol, felly y Saint: yr oedd y cyntaf yn dyoddef pob adfyd; a thrwy ffydd, yr hon a brofid drwy weithredoedd, yn dysgwyl 'gwlad,' sef yr orphwysfa sydd etto yn ol i bobl Dduw. Mae pob crefyddwyr ond y Saint yn dysgwyl nefoedd ddychymmygol, '*beyond the bounds of time and space*' (tuhwnt i derfynau gwagle ac amser.) Manylodd yn eglur ar debygolrwydd 'Saint y Dyddiau Diweddaf,' i Abraham a'i hâd, ac mai ei efelychu a wnant fwy fwy etto, nes y caffont eistedd gydag Abraham, tad y ffyddloniaid, yn nheyrnas Dduw, sef yr orphwysfa ddedwydd ar y ddaear, ag y bu yntau farw mewn gobaith o'i mwynhau. Ar ei ol ef cyfieithodd y llywydd gan mwyaf, gan ychwanegu ac annog y gwrandawwyr i brofi ein cyfundrefn yn onest a diduedd, gan mai felly y profai Duw hi yn wirionedd i'w boddlonrwydd hwythau. Diolchodd yn garuaidd i'r dyrfa am eu boneddigeiddrwydd a'u sirioldeb drwy'r dydd, a pherswadiai y Saint i fyw yn ddifrychenlyd ger gwydd y byd, i ymdrechu yn mhob dull i ledaenu y gwirionedd, ac i wneuthur daioni i bawb, yn enwedig i deulu y ffydd. Terfynodd y Brawd Richards waith y dydd drwy erfyn ar Dduw i'w fendithio.

Dydd Llun am hanner awr wedi deg yr oedd y Neuadd yn orlawn o bobl, a thredliwyd y cyfarfod gan y llywydd a'r Brawd Richards, trwy ddangos y dull ysgrythyrol o alw ac ordeinio i'r gwahanol swyddau eglwysig—dyledswyddau, a'r angheurheidrwydd am y gwahanol swyddau megys cynt; na thywalltai Duw ei farnau ar y byd yn awr cyn anfon ei weision i'w rhybuddio ac i gynnyg iddynt ddiddosrwydd. Yna galwyd dau i fod yn henuriaid yn nghangen Merthyr, un yn Dowlais, un yn Pendarran, un yn Rymny, ac un yn Risca. Galwyd deuddeg i fod yn offeiriaid yn Merthyr, tri yn Rymny, dau yn Caerfyrddin, tri yn Caerdydd, un yn Cwmbach, ac un yn Cwmbychan. Dysgawdwyr—tri yn Merthyr, un yn Rymny, dau yn Caerdydd, dau yn Caerfyrddin, un yn Cwmbach, un yn Llanybyddar, ac un yn Pendarran. Diaconiaid,—Rymny un, Caerdydd dau. Yn Dowlais, galwyd chwech o offeiriaid, pedwar o Ddysgawdwyr, a dau o Ddiaconiaid. Yna terfynodd y brawd Richards drwy weddi.

Am hanner awr wedi dau o'r gloch yr oedd y Neuadd yn llawn drachefn, ac yn y cyfarfod hwn ordeiniwyd y mwyrif o'r swyddogion a alwesid, a chydunwyd i'r gweddill gael eu hordeinio yn eu canghenau perthynasol; cynghorodd a rhybuddiodd y llywydd y personau hyny yn bwysig ar iddynt barchu ac iawn ddefnyddio eu swyddau gwerthfawr, gyda golwg ar ddydd y cyfrif sy'n dod; annogodd hwynt i agoryd eu genau mewn doethineb, ac i'r cyfan a wnant fod yn tarddu yn gywir oddiar gariad at, ac awydd i lesoli dynion; ond er dim iddynt beidio ag ymgecru â dynion cyndyn, na dadleu yn nghylch geiriau neu gwestiynau anfuddiol; a thaer erfyniodd ar yr holl Saint i weddio drostynt. Yna y llywydd Holliday, o Bath, ac ar ei ol ef y llywydd Kendall, o Bristol, a anerchasant y cyfarfod, ac ar eu hol hwythau, yr henuriad Webb;

wedi hyny y ddau olaf a ganasant emyn o goffadwriaeth am ferthyrdod Joseph a Hyrum Smith, a'u duwioldeb, a therfynwyd y cyfarfod drwy weddi gan yr henuriad Henshaw.

Am hanner awr wedi chwech pregethodd yr henuriad Thomas Pugh yn Gymraeg, y Brawd Richards yn Saesneg, a'r llywydd ar ei ol yn Gymraeg, a'r cyfan gyda nerth a dylanwad mawr; ac amlwg oedd drwy y gwrandawiad astud, a sirioldeb pawb, eu bod yn derbyn pleser, goleuni, a llawenydd y Dyddanydd nefol.

Felly terfynodd y Gymmanfa hyfryd a defnyddiol hon dan fendith Duw, er agoryd llygaid llawer i weled gogoniant teyrnas Dduw, ac er cadarnhau y Saint yn y santeiddiaf ffydd; erioed ni welsom fwy o arwyddion undeb, cariad brawdol, a phenderfyniad i fyned yn mlaen drwy bob erlidigaethau a rhwystrau, nes cyrhaedd y gamp oruchel yn Nghrist Iesu. Yr Arglwydd grasol a'n nertho oll i barhau yn ffyddlon, nes cyrhaedd i gwmni a gogoniant y ffyddloniaid oll gyda ein Tad yn nheyrnas Dduw, yw'n gweddi drwy Iesu Grist. Amen.

William Davies,
Edward Edwards. } *Ysgrifenwyr.*

---

## DAMMEG Y PREN A DDWG NAW MATH O FFRWYTHAU!

Ar amser nodedig ymwelodd rhyw winllanydd *(a)* cyfoethog â'i winllan *(b)* mewn gwlad bell, gan blanu rhyw blanigyn *(c)* rhyfedd a ddygodd gydag ef, yr hwn wedi tyfu yn bren o ddygai naw *(d)* rhyw o ffrwythau rhagorol. Dewisodd, *(e)* a dysgodd *(f)* ei weision *(g)* pa fodd i'w drin, ac i wylied drosto rhag i ddim ei niweidio. Yr oedd wedi dwyn ychydig *(h)* o bob un o'r cyfryw ffrwythau gydag ef, fel y caffai ei weision, a rhai o bobl y winllan, brofi eu blas; ac yna dychwelodd i'r wlad bell yn ei ol *(i)*. Ei weision, wedi profi blas y ffrwythau, a deall eu bod yn ymborth rhagorol ac iachus, ac hefyd yn feddyginiaethol o bob clwyf, a ymdrechasant ddydd a nos i drin y planigyn yn ol y cyfarwyddiadau a gawsant. Coronwyd eu diwydrwydd â'r fath lwyddiant rhyfeddol nes y tarddodd allan ganghenau iraidd a lliosog, ac amdowyd ef â blodau heirdd a pheraidd; ac yn yr haf cyntaf gorlwythwyd y pren â ffrwythau fel y rhai a ddygasai y gwinllanydd ar y cyntaf. Buan iawn yr aeth son am dano drwy y winllan, ac y cyrchodd y bobloedd o bob cwr i ymofyn y ffrwythau. Aeth y gweision â llawer o blanigion o hono i barthau ereill, ac yn mhob man lle eu plenid (os trinid yn ol cyfarwyddiadau y gwinllanydd) yr un fath ffrwythau a ddygid; dim llai, na dim yn amgen; ac er syndod i bawb, ffrwythlonai yn ogystal ar benau y mynyddoedd mwyaf creiglyd ag yn y dyffrynoedd brasaf, yn y pegynau rhewog fel yn y *torrid Zone;* mewn gair, ni welwyd ef erioed yn amddifad o un o'r naw ffrwyth.

Yr oedd rhyw ormeswr *(k)* a ddaethai o wlad bell er's talm, yn hòni rhyw hawl i'r winllan, a llawer o'r bobl yn ei gredu a'i wasanaethu; ond ni thyfai un o'r rhyw hwnw o ffrwythau ar eu prenau hwynt, yr hyn a barodd i'w weision rwgnach wrth y gormeswr, am fod rhagoroldeb ffrwythau y lleill yn dwyn holl bobl y winllan braidd i'w march-

nadoedd hwynt, a bod gobaith eu helw hwythau yn pallu. Ar hyn, addawodd y gormeswr yr aethai yntau i gyrchu planigyn *(l)* cystal, os nad gwell, na'r eiddynt hwy, o wlad bell; ac wedi iddo ddychwelyd, a'i blanu, ac i amser ffrwythau ddod, gwel d arno rai ffrwythau yn debyg yr olwg i'r lleill; ond er eu siomedigaeth, wele yr oeddynt yn wenwyn marwol *(m)* i bob un a'u profent. Cenfigenodd y gormeswr, a'i weision, waeth-waeth yn erbyn y lleill oherwydd hyn, ac am eu bod yn rhy falch i ofyn am blanigion ganddynt, ymosodasant arnynt, ac a'u lladdasant, gan feddwl y caffent hwy y pren a'i ffrwythau, ac y deuai pawb atynt hwy i brynu wed'yn *(n)*. Ond er eu syndod hwy, a cholled fawr i holl bobl y winllan, ni thyfodd yr un o'r ffrwythau cyntefig ar y pren wedi hyny, oherwydd na ddysgwyd hwy gan y gwinllanydd na'i weision pa fodd i'w drin; ac yn fuan ei geinciau a grinasant, ei ireidd-dra a sychodd, a'i foncyff a bydrodd *(o)*, a bu yr holl bobl yn newynu am y ffrwythau am dalm o amser, a dim i'w cael *(p)*.

Yn y cyfamser, tyfodd pren y gormeswr yn fawr iawn, ac yn lle ffrwythau, gorlwythodd holl adar aflan y wlad ei ganghenau, gan ei wneuthur yn nythfan, ac ysglyfaetbu pawb a ddeuai y ffordd hòno. O'r diwedd, un o eryrod *(q)* y gormeswr, yr hwn oedd yn llawer gwell nâ'r lleill, gan dosturio wrth y dyoddefwyr, a gafodd afael ar ryw hen lyfr *(r)* a ysgrifenwyd gan weision y gwinllanydd, yn desgrifio yr hen bren, a'i ffrwythau danteithiol, yr hyn a g eodd awydd ynddo i gael pren cyffelyb iddo, ond ni allai ddirnad pa le y caffai blanigyn i ddechreu. O'r diwedd, pan yn syllu i wared o'i nyth ar gelaneddau y lluoedd a drengasent oddeutu bon y pren, gwelodd yno amryw *suckers* iraidd yn tyfu o wraidd yr hen bren, a meddyliodd y gallai, trwy gyfarwyddiadau yr hen lyfr, feithrin un o'r rhai hyn yn bren ffrwythlon; ond gwyddai fod ei fywyd mewn perygl os deallai yr adar ereill ei amcan, a thrwy ryw gyfrwysdra, llwyddodd i gael *sucker*, a myned ag ef yn ddiangol, ac a'i planodd yn nghwr eithaf y winllan, a thyfodd yn bren cadarn. Ereill, wrth weled ei lwyddiant ef a'i bren, a anturiasant wneyd yr un modd, ac mor llwyddiannus ag yntau. Yn mhen amser, tyfodd *suckers* oddiwrth y *suckers* hyn, y rhai a blanodd ereill yn gyffelyb, nes yr oedd y prenan hyny yn lliosog iawn drwy y winllan; ac er eu bod yn go debyg i'r hen bren ar yr olwg gyntaf, etto nid oedd un o'r naw math o ffrwyth yn tyfu arnynt yn un man, er yr hònai pob un fod ei bren ef o'r un rhyw â'r pren ffrwythlon. Gan fod newyn tost trwy yr holl wlad, a'r bobloedd wedi clywed fod cynnifer o'r prenau ffrwythlon yn eu plith, ymgasglasant atynt yn lluoedd, gan waeddi am ffrwyth, rhag eu marw o newyn. Ar hyn, estynodd yr adar eu penau dros eu nythod, ac mewn llais fel llais dynion perswadiasant y bobl, gan ddywedyd, "O, nid oes eisieu y ffrwythau cyntefig mwyach. Mae yn wir fod naw math o ffrwythau wedi tyfu arno yn y dechreu, a'u hunig ddyben oedd er profi fod y fath bren wedi bod[!], a'r unig gysur a ellwch gael yn awr yw cyrchu at ein prenau ni pan y teimloch yn newynog, a syllu arnynt yn graffach po tynaf y crafanga newyn eich cylla; a darllenwn ninnau o'r hen lyfr hwn hanes y gwleddoedd a fwynhäai dynion o ffrwythau y pren cyntefig, canys ffydd yw y cyfan sydd yn ofynol i'ch cadw yn fyw heb ymborth, dim

ond credu yr hanes heb fwynhau, a chyrchu yma i edrych ac i wrando. Beth! oni allwch fyw ar rym *imagination!* canys ar ol cyrhaedd y wlad bell y cewch y naw math o ffrwythau hyny *(s)*." Fel hyn twyllasant luoedd i gyrchu atynt, ac er eu bod yn gwanhau ac yn newynu, y plant ar ol y tadau a'u dilynasant hyd farw, nes y gwelid eu hesgyrn yn wynion ar hyd wyneb y ddaear oddiamgylch i'r prenau hyn.

Ond y rhai *synwyrolaf (t)* o'r bobl a'u gwrthwynebasant, gan ddywedyd mai eu twyllo yr oeddynt, a bod griddfanau y trancedigion, yn nghydag arteithiau dirdynawl y newyn ar eu hymysgaroedd eu hunain, yn ffeithiau profadwy na allent fyw heb fwynhau o ffrwythau y pren eu hunain; a chan eu bod hwy yn haeru na thyfai y cyfryw ffrwythau ar y pren yn awr, nad allent hwythau gredu fod y fath bren erioed wedi bod, nac yn dwyn y naw math o ffrwythau a ddesgrifiai eu hen lyfr; canys (ebent hwy) y mae y cyssylltiadau anwahanol â pha rai y cylymodd y pen anianydd bob effaith wrth ei hachos ei hun, ynghyd ag esiamplau holl brenau ereill y winllan, yn dwyn y cyffelyb ffrwythau yn awr ag a ddygent y pryd hyny, yn profi eich ffolineb chwi yn hòni mai y pren hwnw sydd genych, ac etto yn gwadu ei ffrwythau. Achosodd hyn frwydrau creulon rhwng y pleidiau hyn. Ymunai holl fyddinoedd y cyntaf yn erbyn yr olaf, er mai nid anfynych y lladdent eu gilydd, a diluwio eu gwinllan â gwaed eu hudolion. Yn y cyfiwr alaethus hwn y bu yr holl winllan am yspaid mawr. O'r diwedd, tosturiodd y gwinllanydd wrth eu sefyllfa druenus; a chan fod diwedd y cynauaf yn agosâu, pan y bwriada feddiannu yr holl winllan ei hunan wedi ei gosod mewn trefn, bwrw y gormeswr i garchar, ynghyd â'i holl weision a ymlynant wrtho, efe a anfonodd un o'i weision *(u)* o'r wlad bell o'i flaen gyda phlanigyn fel y cyntaf, fel y caffai y rhai a ddewisent fwyta o'i ffrwyth, rhag marw o bawb gan newyn cyn y deuai. Planodd y gwas ef mewn llanerch hyfryd a dirgel, dewisodd a dysgodd y rhai y perwyd iddo *(v)*, ac a'u gosododd i wylied dros, ac i drin y pren yn ofalus (canys gwyddai fod gelyniaeth farwol rhwng yr holl adar aflan ag ef), ac a ddychwelodd adref. Drwy ffyddlondeb y gweision i wneuthur pob peth fel eu gorchymynwyd, dygodd y pren hwn gnwd toreithiog o'r un ffrwythau â'r naw math a dyfai ar yr un gwreiddiol yn gymhwys. Aeth y newyddion gorfoleddus hyn fel ar adenydd y gwynt i blith y werin, a mawr y cyrchu oedd yno i ymofyn am y ffrwythau, a phawb a ddelai yn gwledda arnynt heb arian ac heb bris. Ond pan glywodd y gormeswr hyn, brawychodd yn ddirfawr, canys gwyddai o'r goreu na ellid cael y pren hwnw gan neb ond gan y gwinllanydd, a deallai hefyd fod ei amser ef yn fyr *(w)* i deyrnasu yn y winllan. Ar hyn cofiodd am y ddichell a lwyddodd i ddyfetha y cyfryw bren o'r blaen, ac a gynhyrfodd ei weision i erlid y lleill. Dywedodd wrthynt am berswadio y werin nad oedd y ffrwythau yn tyfu ar eu pren hwynt, ond mai anwiredd oedd eu proffes. Dywedodd hefyd am iddynt berswadio y rhai a brofasant o honynt eisoes, mai y ffrwythau gwenwynig a dyfai ar ei hen bren ef oeddynt, a rhybyddio pawb a allant i beidio eu coelio hwynt, na chyfeillachu â hwynt, am fod yn anmhosibl braidd cael neb oddiwrthynt wedi iddynt brofi o'r ffrwythau, &c., *(y)*. Ac fel hyn llwyddodd ei gelwyddau

nes lladd y gweision* cyntefig a wylient y pren; ond er siomedigaeth fawr iddo ef a'i weision, yr oedd y pren wedi gwreiddio mor ddwfn, cynnifer o blanigion o hono wedi eu trosglwyddo ar led y winllan, ac yn dwyn y ffrwythau mor doreithiog, a lluoedd o'r rhai a wadent fodoldeb y pren cyntefig, ynghyd â'r rhai callaf a gonestaf o'r lleill, yn eu hamddiffyn, fel na allent lwyddo; canys gelynion creulon hwn, fel y pren arall, oedd y rhai hyny a gaffent lawer o aur, o ârian, parch, byd helaethwych, a gwisgoedd symudliw, oddiwrth y prenau ereill. Rhagwelent y byddai gobaith eu helw yn pallu os caffai y werin brofi blas y ffrwythau; ac hefyd, pan chwythai y gwynt oddiar un o'r prenau hyn tuag at eu prenau hwy, tarawai y fath falldod drostynt, nes gwywo o'u dail, crino eu cangenau, fel na chynnalient yr adar a nythai ynddynt; ac am na chyrchai y bobl yno i gael eu hysglyfaethu, rhai o'r adar a gwympasant i'r llawr, ynghyd â'u nythod, ac ni allent ehedfan mwyach, ond a gnoisant y rhisgl o gynddaredd†. Yr holl adar ysglyfaethus ereill yn rhagweled wrth hyn mai cyffelyb fyddai eu tynghed hwythau cyn hir, a ymgynddeiriogasant yn waeth etto, ac a ymunasant oll mewn ymgyrch aruthrol i ddial ar weision y gwinllanydd a'u canlynwyr; ac er eu bod beunydd yn elyniaethus gynt, heddychasant a'n hen fam-deulu o'r diwedd, yn yr ymladdfa olaf hon, a llwyddasant nes gorfod i'r holl rai nad ufyddhaent iddynt hwy gyrchu at eu prenau, ac ymwrthod â'r ffrwythau (ond ni laddasant neb), a myned ymaith yn dyrfa fawr mewn llawer o longau dros y môr mawr‡, a dychwelasant hwythau i'w nythod, a mawr oedd y gorfoledd drwy y wlad oherwydd eu buddugoliaeth. Danfonent roddion i'w gilydd o lawenydd am gael gwared o'u gelynion, ac ymffrostient y caffent bob ysglyfaeth i'w crafangau bellach§. Yn ddisymwth, brawychwyd hwy yn nghanol eu gorfoledd gan ruad taranau, mellt, a swn storm ofnadwy. Crynai y winllan, dawnsiai y bryniau mewn braw, ac ysgydwai yr holl winllan fel meddwyn. Yr haul a ymwisgai sachlen flew yn alarwisg, a'r holl elfenau blith draphlith, fel cawl mewn cerwin, a ferwent, a holl brenau y winllan, ynghyd â'r adar aflan a'u hudolion, a glywid o hirbell fel clindarddach drain dan grochan, ac ysgyrnygent ddannedd ar eu gilydd, gan waeddi, "O na wrandawsem ar lais gweision y gwinllanydd! O na fwytasem o'u ffrwythau hwy, a byw yn dragywydd! Ond darfu yr haf, aeth ein cynauaf heibio, yn credu eich hudoliaeth chwi; addawsoch i ni heddwch, ond O! fe'n poenir weithian yn y fflam hon!"|| Ar hyn, wele y gwinllanydd ei hun, a'i osgordd aneirif, yn dyfod mewn cerbydau tanllyd awyrawl, gan osod tân yn y cwr dwyreiniol, yr hwn a gipiodd ac a ddifaodd ar y dde a'r aswy bob peth o'i flaen, megys sofl sychion, fel mai yr oll a ddeallid o'r gyflafan erchyll oedd ochain a dolefain.¶ A chlowyd yr olygfa i fyny trwy lais udgorn uchel o ganol y cerbydau, yn bloeddio, "A mwg eu poenedigaeth hwy a esgyn i fyny yn oes oesoedd."** Ac adleisiodd fel llais telynau trwy'r awyrgylch, "Llawenha o'i phlegid hi y nef, a chwi apostolion a phrophwydi santaidd, oblegid dialodd Duw arni drosoch chwi."†† Ac unasant oll yn y *chorus*, "Cyfiawn, O Arglwydd, ydwyt ti, Brenin y saint; canys gwaed saint a phrophwydi a dywalltasant hwy." Yr hwn a ddarlleno, ystyried y ddam-

meg hon! Er iawn ddeall y ddammeg, darllener y cyfeiriadau canlynol yn fanwl:—

(*a*) Iesu Grist, gwel Esay 5, 1—7; Mat. 20, 1; 21, 28; Luc 13, 6—8. (*b*) Y ddaear. (*c*) Yr efengyl. (*d*) Naw doniau yr Ysbryd Glân, 1 Cor. 12. (*e*) Ioan 15, 16. (*f*) Mat. 28, 20. (*g*) Yr apostolion, &c. (*h*) Y gwyrthiau a wnaeth Crist ei hun cyn sefydlu ei deyrnas. (*i*) Ei esgyniad i'r nef. (*k*) Y gelyn diafol, Mat. 13, 25. (*l*) Eglwys Rhufain. (*m*) Gau wyrthiau, Mat. 24, 24; Dat. 13, 13, 14. (*n*) Y rhai a laddasant olynwyr yr apostolion. (*o*) Pan gymerwyd yr hawl ddwyfol oddiar y ddaear, ac yr aeth yr eglwys i'r diffaethwch, Dat. 12, 5, 6. (*p*) Y newyn am yr efengyl drwy yr "oesoedd tywyll," Amos 8, 11, 12. (*q*) Y cyntaf a wrthwynebodd eglwys Rhufain, ac a blannodd eglwysi ei hun. (*r*) Y Testament Newydd. Y *suckers* yw holl ferched yr "hen fam," a'u merched hwythau, Dat. 13, 18. (*s*) Pawb a wadant yr anghenrheidrwydd am y naw math o ddoniau yr Ysbryd Glân drwy y byd, a honant eu commissiwn o'r llyfr, ac mai dyben y doniau oedd er profi gwirionedd Cristionogaeth: gwel y *Bedyddiwr*, y *Seren Gomer*, a'r *Diwygiwr*, &c., ac yna 1 Tim. 4, 1, 2; 2 Tim. 3, 1—9; a 4, 3, 4; Judas 4, 10, 12, 19. (*t*) Yr anffyddwyr oeddynt yn gwrthsefyll sectariaeth, 2 Pedr 2, 11, "oherwydd y rhai y ceblir ffordd y gwirionedd." (*u*) Yr angel a welodd Ioan yn dyfod â'r efengyl dragwyddol yn ol i'r ddaear, Dat. 14, 6. (*v*) Joseph Smith, &c. (*w*) Dat. 12, 12. (*y*) Pawb a gynllwynant, a gyhoeddant, a bregethant, neu a draethant, rai o'r "mil ond un" o'r chwedlau disail, a'r camgyhuddiadau a orlifant y wlad am y Saint. * Y merthyron duwiol hyny yn ngharchar Carthage, a degau o Saint dieuog ereill ar y cyfandir. † Y *blast* sydd wedi dechreu, ac yn cynnyddu fwy-fwy fel y deallir rhagoroldeb y gwirionedd. Mae gwywiad eu dail, crindod eu heglwysi, a'u malldod, wedi dod yn rhy amlwg i'w guddio yn hwy. Mae eu hadfeiliad mor gyflym yn yr America, a'u barnau yn cynnyddu, nes cynnaliant gyfarfodydd ymprydiau a gweddiau i geisio ireiddio eu prenau pwdwr, ie, pan y mae gwaed gwirion merthyron Iesu yn dyferu oddiwrth eu dwylaw! Ac yn Mrydain, mae y *blast* yn fwy andwyol ar eu canlynwyr nag ar y pytatws. Dechreuant weled fod rhyw "ddarn llaw" wedi ysgrifenu "Mene tekel" ar eu prenau yn ddyfnach na'r rhisgl, etto llefant, ymprydiant, rhith o hir weddiant, ac yna ymgynddeiriogant i felldithio, erlid, a chamgyhuddo plant Duw oherwydd eu crefydd! Ond crinach â'r pren po fwyaf y cnoant y rhisgl. O ydyw, mae y malldod yn rhy eglur i'w wadu, ac y mae hyd y nod y *Bedyddiwr* am unwaith yn ddigon gonest i'w addef: gwel rhifyn Chwefror, tudal. 69,—"Mae y gwynt [yr Ysbryd Glân] yn chwythu lle y myno," ebe yr erlidwr hwn: ac felly y mae, ond gwael iawn yr argoelion os mynodd chwythu arno ef er pan wyddom ddim am dano. "Mae yr ymadrodd hyn yn hollol ddarluniadol o Ysbryd y gras yn y dyddiau hyn. Ymddengys [iddo ef] fod eglwysi y saint, gan mwyaf drwy y byd, yn enwedig Prydain ac America, wedi digio yr Ysbryd ymaith [pa ysbryd? pa bryd? pa fodd y gwybu hyn, ac yntau yn gwadu yn haerllug yr anghen o'r Ysbryd Glân, drwy wadu ei ddoniau!], a'r Goruchaf yn dywedyd (ebe efe), 'Af, a dychwelaf i'm lle hyd oni chydnabyddont eu bai:' [ond hollol groes ebai holl arwyddion a bygythion Duw. "Mae dystrywiwr y cenedloedd ar ei fford,"—"Efe a dery y ddaear â gwialen ei enau,"—"Pan y cyhoeddant heddwch, heddwch, y daw dinystr disymwth ar eu gwarthaf hwynt," ebe y Bibl,] o dan y ddedfryd hon (addefa fod) llygredigaeth yn magu yn y ty, (y 'pren') anwiredd yn amlhau, a chariad llawer yn oeri;" h. y., llawer yn gadael ei bren ef, ac yn mwynhau ffrwythau y pren da, pa rai a eilw efe yn wenwynig; ond nid rhyfedd hyn, canys drwg yw y da, tywyllwch yw y goleuni, a gwir yw yr anwiredd gwaethaf, yn ol ei reolau deongliadol ef atom ni yn barhaus. Yma awgryma fod eglwysi erlidgar fel yr eiddo ef yn deilwng o'r

cymmeriad o *Saint*; neu o'r ochr arall, tra yr addefa efe fod blodau y bedd wedi coroni enwadau ereill heblaw ei hunan, ac y dengys efe fod y Wesleyaid, er llafur yn agos i ddeng mil o bregethwyr, wedi lleihau dros gant a hanner y llynedd. Nid gwir ei ddarlun o eglwysi y "Saint," canys yn lle moeli, a digio yr Ysbryd Glân, y mae y dyddanydd yn ein heglwysi yn wresocach nag erioed, ac yn fwy ffrwythlon. Er na feddwn un pregethwr i bob cant o'r rhai sy'n lleihau, na braidd gapel y gallwn yn gysurus fyned iddo, na thy, na gwrandawiad, os gallant hwy eu rhwystro, er y cwbl corona yr Ysbryd Glân eu llafur â llwyddiant yn ol dros gant yn y mis yn aml. Mae yr addefiad uchod yn profi eu siomedigaeth, er eu holl ymdrech, yn y cynllun a wnaethant er's tro yn ol i gael yr Ysbryd, ac nid rhyfedd ychwaith, canys nid ydynt foddlon i ymostwng i drefn Duw er ei gael, fel y derbyniodd y Saint ef, a byddant yn amddifad o hono hefyd, debygwn, fel yr addefa y Golygwr, "hyd oni chydnabyddont eu bai." Felly goreu po cyntaf iddo, wneyd a galw yn ol y camgyhuddiadau gwarthus a gyhoeddodd ar y Saint. ‡ Y Saint yn ffoi i Sion. § Dat. 11, 10; Salm 11, 6; 68, 2; 110, 5, 6; Esay 9, 18—20; 13, 6—9; 24, 6, 17, 21, 22; Jer. 30, 23, 24; Zeph. 3, 8; Mat. 4,; 2 Thes. 1, 8—11; ‖ Dat. 19, 23. ¶ Dat. 18, 20, 24; ** Dat. 16, 5, 6, 7.

---

## CANGHEN LLANYBYDDAR.

Bedyddiwyd un, ac ereill yn addaw ufyddhau yn fuan, er cymmaint a wingodd y Daniel Ddall hwnw i'n herbyn; ond caled iddo yn awr oedd gwingo yn erbyn symbylau Duw. Clywsom ei fod mewn cyflwr drwg iawn, fel nad oes neb yn gallu deall pa glefyd sydd arno. Mae yn yfed llawer o ddwfr oer, gan ddywedyd ei fod yn clywed ei goluddion yn cynneu, ac y mae yn ceisio gan ereill i dywallt dwfr oer ar ei gorff, yr hyn a wnaed dros oriau a dyddiau. Rhuthrai allan o'i dy gan angerdd y tân tybiedig o'i fewn, a rhedai i orwedd mewn llyn o ddwfr er mwyn oeri. Clywsom fod y meddyg yn dweyd na wyddai efe pa beth yn y byd sydd arno. Dymunem i'r holl Saint weddio ar iddo gael ei ddwyn i'r iawn allan o fagl diafol.

---

## CYNNWYSIAD.



---


MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD, AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

JOHN JONES, ARGRAFFYDD, RHYDYBONT.

# PROPHWYD Y JUBILI,

NEU

# SEREN Y SAINT.

RHIF. 12.] MEHEFIN, 1847. [PRIS 2*g*.


## DEILIAID BEDYDD.

"YR hwn a ymddarostynga ei hun gerbron Duw gyda chalon ddrylliog, ac ag ysbryd cystuddiedig, gan ddwyn ffrwythau boddhaol i'r eglwys ei fod yn wir edifeiriol am ei holl bechodau, yn foddlon i gymmeryd arno enw Iesu Grist, ac yn benderfynol i'w wasanaethu ef hyd y diwedd, yn unig sydd yn deilwng o gael ei fedyddio i eglwys Iesu Grist."—*Ath.* a'r *Cyf.*

Dylai yr henuriaid a'r offeiriaid fod yn ofalus iawn na weinyddont yr ordinhad bwysig hon, nac un arall, i neb annheilwng. Mae yn rhy wir fod dynion mor rhyfygus a rhagrithiol i'w cael, hyd y nod yn ngwlad y biblau, ac yn proffesu ei gredu, ïe, mor rhyfygus â chynllunio gyda'u gilydd i dwyllo gweision Duw er mwyn gwawd a dirmyg, megys y Methodistyn hwnw yn Machynlleth ag a dystiodd wrth y pregethwr ei fod yn credu, ac yn edifeiriol, ac yn dymuno cael ei fedyddio; ac nid cyn myned i'r dwfr, ac i'r dyhiryn rhyfygus geisio taflu y pregethwr i'r afon, a bygwth ei foddi, yr amlygodd ei frad; ac erbyn hyny yr oedd y lluoedd o'i bartneriaid annuwiol, y rhai a ymguddiasent yn y twmpathau cyn yr amser, yn rhuthro at y pregethwr dan fygwth ei foddi, ac nid heb ymdrechion caled y diangodd yn fyw o'u crafangau, a hwythau yn ei ddilyn fel gwaedgwn. Pa greadur rhesymol, heb son am *Gristionogol*, nad arswydai rhag dirmygu ordinhad ddwyfol fel hyn? Oni ellid twyllo felly bregethwyr pob enwad? Ac er nad oes genym hawl i rwystro neb a ufyddhant i'r ammodau i gael eu bedyddio, etto, rhybyddia pethau fel hyn, ac ereill a allem enwi, ni i sylwi mwy ar ffrwythau addas i edifeirwch. Dichon ereill, megys *Daniel Ddall*, ragrithio yn wybodus i ni braidd, ac etto heb fod genym brofion o hyny, ac mai buddiol yw oedi; canys gwell iddynt o lawer fod heb

eu bedyddio na dyfod fel y del rhai, er yspïo ein rhyddid, a cheisio defnydd enllib, ac fel y gallont ein camddarlunio; o'r fath wefusau halogedig â hyn y daw yr holl gamgyhuddiadau braidd a orlifant groniclau Phariseaidd ein gwlad i'n herbyn.

Dymunem i bob swyddog gofio fod dydd yn dod yn yr hwn y gofynir pa ddefnydd a wnaeth o bob talent a dderbyniodd, ac os na fydd ffrwyth ei lafur yno ar gael, mai ofer yw, os nad gwaeth nag ofer. Nid yn ol y nifer a fedyddio, y gwobrwyir dyn; ond yn ol y nifer a droa i gyfiawnder, ac a gadwo ar hyd llwybrau cyfiawnder a duwioldeb hyd y diwedd, y caiff fynedfa i mewn i, ac y dysgleiria fel y ser yn nhragwyddol orphwysfa ein Harglwydd Iesu Grist.

---

## SEION. EI LLEOLDEB, &c.

Dyma destun cân y patriarchiaid, a'r gwrthddrych a sugnai serch y prophwydi, a gobaith a dymuniad yr holl saint drwy'r oesoedd. Ymddigrifent yn y darluniadau o honi, ac i'r graddau ag y caffent o ysbryd ei Brenin, fel yr estynai nofiedydd medrus ei ddwylaw i nofio, yr ymchwareuent trwy ffydd yn y moroedd o gariad didrai, y purdeb, a'r anchwiliadwy olud a drysorwyd ynddi erbyn y delo ei holl blant i oedran cyfaddas i'w mwynhau am byth. Desgrifient y waredigaeth a gaffai plant Duw yno pan y deuai ei farnau ar y byd. Mae llawer o'r hanes yn ysgrifenedig yn y gyfrol santaidd hyd heddyw, ac yn cael ei ddarllen yn barhaus; ac etto, mae son am "adeiladu Seion," "casglu" tuag yno, a'r bendithion a fwynheir ynddi, mor ddyeithr braidd yn yr oes hon â phe na ddarluniesid ddim am dani. Ar ol y cwbl a ddywedwyd am Seion, ni wyddom fod un o'r holl grefyddau sydd yn y byd, ond y "Saint," yn adeiladu, casglu i, nac yn deall dim o barthed i'w lleoldeb; ac ni wyddant well na'u gwawdio a'u herlid hwythau oherwydd eu crediniaeth yn, a'u hymdrechiadau i gasglu ynghyd i, Seion, fel y gwawdiai y cyn-ddiluwiaid Noah a'i deulu am eu bod yn darparu ac yn myned i'r arch.

Fod dinas o'r enw Seion i gael ei hadeiladu a'i haddurno yn ogoneddus cyn y delo ein Harglwydd i'w deyrnas, sydd wedi ei arddangos mor eglur gan y prophwydi (os credir er hyny), fel mai ofer i ni ymhelaethu yn awr. Tystied eu prophwydoliaethau hwynt, ynghyd â'r cyflawniad o honynt i raddau drwy arwyddion yr amserau rhyfedd hyn, ynghyd â lleisiau gweision Duw, am yr anghenrheidrwydd o honi yn y dyddiau diweddaf hyn. Ond ein dyben yn yr hyn a ganlyn yw dangos yn mha barth o'r ddaear y rhagwelodd y prophwydi Seion fawr y dyddiau diweddaf yn cael ei sefydlu.

Bu dinas ar yr enw hwn yn Jerusalem; ac fel y dealler at ba un y cyfeiria y prophwydi yn yr hyn a ddyfynwn, nid anfuddiol fyddai dangos y gwahaniaeth rhwng y ddwy ddinas, yn ogystal â'r gwahanol fanau y byddent. Weithiau galwent y Seion oedd yn Jerusalem, "y

ddinas uchaf." Gwahanwyd rhyngddi â Jerusalem gan fur mawr yn ei hamgylchu. Dywed haneswyr mai Melchisedec a sylfaenodd Jerusalem, a'i galw wedi hyny yn Salem. Dywed Paul, Heb. vii, 2, fod Melchisedec yn frenin Salem; pa un ai efe a sylfaenodd Seion, nid yw eglur; ond yr oedd un mewn bodolaeth yn amser Dafydd o leiaf; canys dywedir ddarfod iddo, pan feddiannodd Jerusalem oddiar y Jebusiaid, "ennill amddiffynfa Seion; hòno yw dinas Dafydd," 2 Sam. v. 7. Addefwn fod amrai o'r ysgrifenwyr ysbrydoledig yn cyfeirio at y Seion hon; megys, Esay 30, 19,—"Canys y bobl a drig YN Seion, o FEWN Jerusalem." Gofynwn, os nad oedd rhyw Seion arall mewn golwg, paham yr arferai y prophwyd y rhagddodiad "o fewn?" Onid i ddangos y gwahaniaeth rhwng y Seion hòno â Seion arall a ddarparai Duw yn noddfa i'w blant yn y dyddiau diweddaf? Ond, ebe rhywun, os oeddynt hwy yn gwybod am yr olaf, paham y galwent y ddinas hòno ar yr enw hwnw? Atebwn, er nad eglura yr ysgrythyr hyn, etto anturiwn gynnyg yr hyn a *feddyliwn* ar y pwnc. Mae yr enw Seion o henafiaeth fawr, ac yn arwyddo y pur o galon, neu drigfan y rhai pur o galon. Trwy ddadguddiadau, deallwn fod Enoc yn ei ddydd wedi adeiladu dinas o'r enw hwn, yr hon a gymmerwyd i fyny oddiar y ddaear, ac efallai mai at hon y cyfeiriai Paul yn Heb. 12, 22, 23,—"Eithr chwi a ddaethoch i fynydd Seion, ac i ddinas y Duw byw, y Jerusalem nefol, ac at fyrddiwn o angylion," &c I saint y cynddiluwiaid yn fwyaf neillduol y perthyna y teitl o "eglwys y rhai cyntafanedig;" a chan eu bod hwy a'u dinas wedi esgyn i'r nefoedd, a Paul yn ei galw yn "ddinas Duw," paham nad at hon y cyfeiria Ioan, Dat. 21, 10, lle y gwelodd y "ddinas fawr, y Jerusalem santaidd, yn disgyn o'r nef oddiwrth Dduw?" Os nad i'r ddaear y deuai, pa fodd y rhodiai cenedloedd y rhai cadwedig yn ei goleuni? "Ac y mae breninoedd y ddaear yn dwyn eu gogoniant a'u hanrhydedd iddi hi," ebe Ioan, adn. 24—26. Amlwg yw mai i'r ddaear newydd, ac nid i'r un adferedig, y disgynai y ddinas hon; ac mai ar ol, ond nid cyn, nac yn, y mil blynyddoedd. Ai tybied nad ynddi y triga ysbrydoedd y rhai cadwedig, i aros hyd y derbyniant y "mabwysiad, sef prynedigaeth y corff," ynghyd â'r angylion adgyfodedig a chyfnewidiedig? Os nad felly, nid ydym yn deall Paul, Ioan, na'r prophwydi.

Ond i ddychwelyd at hanes y "Ddinas Dafydd." Dichon fod Melchisedec, neu pwy bynag a'i sefydlodd, pan yn trefnu dosbarthiadau a therfynau Jerusalem, oddiar barch i rhyw Seion a fuasai cyn hyny, wedi enwi y ddinas uchaf, a'r olygfa hardd hon, yn "fynydd Seion," megys yr enwir dinasoedd, llawer o gapeli, a phersonau, hyd heddyw, mewn coffadwriaeth o, ac o barch i, rai a fuont. Ar ol Dafydd, enwid hi, "Dinas Dafydd." Nid ydym yn ammau nad adeiledir y Seion hon etto pan adeiledir Jerusalem, ond nid dan y cymmeriad, nac yn ol darlun, y prophwydi am Seion y dyddiau diweddaf; ond mewn cyssylltiad â Jerusalem, Bellach deallir y gwahaniaeth rhwng y ddwy ddinas, a'r ddwy wlad lle y bu ac y bydd y ddwy Seion. Yn mhlith y llu o dystion a feddwn i brofi mai ar gyfandir yr America y gorchymynai Duw i'w bobl adeiladu dinas noddfa i'r rhai o'i blant a ymgasglent yno, sylwn, i ddechreu, ar yr hyn a ddywed Dafydd yn Salm 48, 2—3,—"Tegwch bro, llawenydd yr holl fyd, yw mynydd Seion, yn

*ystlysau y gogledd*, dinas y Brenin mawr." "Canys wele yno y *breninoedd a ymgynnullasant*." Felly gwelir nad i'r ddinas fach gyntaf y cyfeiria, ond rhyw Seion fawr yn ystlysau y gogledd, lle y deuai breninoedd lawer. Cymharer hyn â'r hyn a ddywed Esay am dani, pen. 17. Dengys y byddai mynydd Seion ar rhyw dir yn cysgodi ag [yn ddarlun] adenydd, tuhwnt i afonydd Ethiopia, yr hon oedd i'r gorllewin yn mhell o'r fan lle y safai pan lefarai, lle y dengys y cyfodai yr Arglwydd faner i holl drigolion y byd, ac yr udgana ag udgorn; ac o ba wlad yr hebryngent genadau hyd y môr, sef i ddangos y "faner" [a ddynodai deyrnas Dduw], ac i ddwyn anrhaith i'r Arglwydd, sef pobl lawer yn dyfod i Seion mewn ufydd-dod i'w galwad, fel colomenod i'w ffenestri, "i le enw Arglwydd y lluoedd, sef i fynydd Seion." Etto, gwel Salm 132, 4—18: "Ni roddaf gwsg i'm llygaid, na hûn i'm hamrantau, hyd oni chaffwyf le i'r Arglwydd, preswylfod i rymus Dduw Jacob: wele clywsom am dani yn Ephrata; cawsom hi yn meusydd y coed." "Canys dewisodd yr Arglwydd Seion, ac a'i chwennychodd yn drigfa iddo ei hun: gan fendithio y bendithiaf ei lluniaeth; diwallaf ei thylodion â bara." Ie, cânt eu gwala a'u gweddill o ymborth yn Seion, pan y bydd yr holl rai a ryfelant i'w herbyn hi a'i thrigolion yn trengu o eisieu. Am "faesydd y coed," pe buasai y darllenydd wedi teithio gyda ni drwy *prairies* yr America, buasai yn barod i addef fod yr hen Ddafydd wedi eu gweled, ac yn gynefin iawn â hwynt yn ol ei ddarluniad. Nid yn "maesydd y coed" yr oedd "dinas Dafydd." Yn yr America y mae maesydd, fel dolydd neu weirgloddiau yn ugain milltir o hyd a lled, weithiau llai ac weithiau yn fwy, ac wedi eu hamgylchu â choedydd. Dywed Esay fod Sion yn anialwch.

Sylwer ar ddarluniad Mica, pen. 4, o'r Seion dan sylw,—"A bydd yn *niwedd y dyddiau* i fynydd ty yr Arglwydd fod wedi ei sicrhau yn mhenau y mynyddoedd; ac efe a ddyrchefir goruwch y bryniau, a phobloedd a ddylifant ato. A *chenedloedd lawer* a ânt ac a ddywedant, Deuwch, ac awn i fyny i fynydd ty yr Arglwydd, ac i dy Duw Jacob; ac efe a ddysg i ni ei ffyrdd, ac yn ei lwybrau y rhodiwn, canys y gyfraith a â allan o Seion, a gair yr Arglwydd o Jerusalem." Addefir na fyddai le i gynnifer yn "ninas Dafydd," yr hon nid oedd yn filltir o'i chylch. Amlwg yw mai gwaith sydd heb ei gwblhau yw hyn, oddiwrth adn. 7,—"A'r Arglwydd a deyrnasa arnynt yn mynydd Seion o hyn allan byth," sef yn bersonol. Ond darllener y gweddill o'r bennod, a gwelir fod y prophwyd yn darlunio cyfyngder Seion cyn ei buddugoliaeth olaf hon, pan yn ymgasglu, yn darparu, ac yn adeiladu eu dinasoedd cyntaf. "A thithau tŵr y praidd, castell merch Seion, hyd atat y daw, ïe, y daw yr arglwyddiaeth benaf, y deyrnas i ferch Jerusalem. Paham gan hyny y gwaeddi waedd? Onid oes ynot frenin? A ddarfu am dy gynghorydd? [atebwn, do, lladdwyd ef yn ngharchar Carthage,] canys gwewyr a'th gymmerodd fel gwraig yn esgor [oherwydd hyny]. Ymofidia a griddfana fel gwraig yn esgor, canys yr awr hon [yn fuan ar ol lladd ei chynghorydd] yr âi di allan o'r DDINAS [ni raid gofyn pa "ddinas," canys ni wyddom ond am un ddinas yn yr oes hon a broffesa fod wedi ei hadeiladu dan gyfarwyddyd Duw drwy ei chynghorydd], a thrigi yn y maes ['maesydd y

coed,' anialwch yr America efallai, lle yr alltudiwyd ugeiniau o filoedd o'r Saint o'u dinas y llynedd, ar ol i'w 'cynghorydd' gael ei ferthyru yn ddieuog]; ti a âi hyd [allan o gyffiniau] Babilon [sef mam putteiniaid y byd, ac o blith ei holl dylwyth]; yno y'th waredir; yno yr achub yr Arglwydd di o law dy elynion. Yr awrhon [sylwer mai yn 'niwedd y dyddiau,' pan y bydd y Saint yn casglu i, ac yn adeiladu Seion, y bydd hyn] llawer o genedloedd a ymgasglant i'th erbyn [pa genedl sydd heb wawdio a dirmygu y meddylddrych o adeiladu teml na dinasoedd drwy orchymyn Duw yn yr oes hon?], gan ddywedyd, haloger hi, a gweled ein llygaid hyny ar Seion," ebe pawb, yn enwedig y rhai sy'n cyfenwi eu capeli ar yr enw hwn. "Ond (druain ydynt) ni wyddant hwy feddyliau yr Arglwydd, ac ni ddeallant ei gynghor ef; canys efe a'u casgl hwynt fel ysgubau i'r llawr dyrnu. Cyfod, merch Seion, a dyrna," am y tro diweddaf am byth, canys wedi hyny, "ni chyfyd cenedl yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel mwyach." Ni raid dweyd fod hyn heb ei gyflawni, na thebygolrwydd y bydd yn fuan. Dywed Zechariah, pen. 9, 9,—"Bydd lawen iawn, ti ferch Seion, wele dy frenin yn dyfod atat." Pa bryd? Ateba adn. 10,—"A'r bwa rhyfel a dorir; ac efe a lefara heddwch i'r cenedloedd [crediniol], a'i lywodraeth fydd o fôr hyd fôr, ac o'r afon hyd eithaf y ddaear." Nid yw hyn wedi ei gyflawni ychwaith, ond ei ddechreu yn unig.

Profa Dafydd trwy yr hyn a ganlyn, tuhwnt i ddadl, mai gwaith mor ddiweddar â'n hoes ni fyddai adeiladu y Seion y cyfeiria ati, Salm 102, 13—16,—"Ti a gyfodi ac a drugarhei wrth Seion; canys yr amser i drugarhau wrthi, ïe, yr amser nodedig a ddaeth." "Felly y cenedloedd a ofnant enw yr Arglwydd, a holl freninoedd y ddaear dy ogoniant: pan adeilado yr Arglwydd Seion y gwelir ef yn ei ogoniant." Pwy a haera fod yr Arglwydd wedi ymddangos yn ei ogoniant hyd yn hyn? Pan y delo, "daw yr Arglwydd fy Nuw, a'i holl Saint gydag ef," ebe y prophwydi. Os daethant, pa le y maent? Os nad ydynt i'w cael, yna addefir nad yw Seion etto wedi ei hadeiladu ychwaith. Hefyd, sylwer fod y Seion hòno oedd yn Jerusalem mewn bodoldeb pan lefarodd Dafydd y geiriau hyn; a dywed, "Hyn a ysgrifenir i'r genedlaeth a ddel." Profasom eisoes yn y gyfrol gyntaf o'r *Prophwyd* am fynediad rhan o lwyth Joseph drosodd i'r America yn gyflawniad o lawer o brophwydoliaethau; hanes llyfr Mormon, a chasgliad gweddillion Joseph a llwythau Israel i Seion. Profwyd hefyd y darparai Duw ddau ganolbwynt neu fan i'w blant ymgasglu iddynt i gael gwaredigaeth, fel y dywed Joel ac ereill pan yn darlunio y dinystr a ddel ar annuwiolion yr holl ddaear, pan y bydd Judah wedi dychwelyd o'i chaethgludiad olaf, ac adeiladu Jerusalem, "canys bydd ymwared fel y dywedodd yr Arglwydd yn *mynydd Seion, ac* yn *Jerusalem, ac* yn y gweddillion a alwo yr Arglwydd." Ac wedi ystyried y cyssylltiadau hyn, paham nad ymddengys mor resymol i bob meddwl diduedd fod Seion i gael ei sefydlu ar y cyfandir gorllewinol, a gweddillion Joseph sydd yno yn byw i ymgasglu iddi, ag ydyw addef y bydd llwyth Judah yn ymgasglu i, ac yn adeiladu Jerusalem ar y cyfandir hwn, lle y cânt hwythau ymwared? Ac mewn gwirionedd, pwy a ddichon gredu yr

ysgrythyrau, ac ammau y naill na'r llall? O'n rhan ni, tybiwn fod hyny yn anmhosibl.

Gan fod ein gorchwyl o brofi sefyllfan Seion yn dibynu ar ei dadgyssylltu â'r Seion hòno oedd yn Jerusalem, cawn y gwahaniaeth lleawl yn eglur gan Esay, pen. 62,—"Er mwyn Seion ni thawaf, ac er mwyn Jerusalem ni ostegaf, hyd onid elo ei chyfiawnder hi allan fel dysgleirdeb, a'i hiachawdwriaeth hi fel lamp yn llosgi, a'r cenedloedd a welant dy gyfiawnder, a'r holl freninoedd dy ogoniant. Yna y gelwir arnat enw newydd, yr hwn a enwa genau yr Arglwydd. Byddi hefyd yn goron gogoniant yn llaw yr Arglwydd, ac yn *dalaeth* [nid *amherodraeth*] freninol yn llaw dy Dduw." Fe all amryw daleithiau fod dan yr un freniniaeth. Nid rhyw le bach, ac nid un, na dwy, na chant, o ddinasoedd a fydd yn Seion, os gwyddom ni rywfaint am dani; ond bydd digon o le yno i lawer o genedloedd fyw a bod, a digon o dir i bob un gael gwinllan o'i eiddo ei hun, a bwyta o'i ffrwyth, heb neb i'w ddychrynu.

Metha rhai a deall pa fodd y dichon Seion fod yn yr America, a'r prophwyd yn dweyd pan adferid Israel y byddent yn un genedl ar fynyddoedd Israel, ac nid rhan o bob tu i'r môr mawr fel y dywed y Saint. Ac addefwn mai cwlwm go galed yr ymddengys hwna ar y cyntaf, etto nid yw hyd y nod symud y môr yna oddi rhyngddynt ond peth hawdd er cyssoni gwirioneddau! Dywedodd Esay lawer o blaid y Saint cyn hyn; a chan mai efe a'n harweiniodd i'r rhwyd hon, os rhwyd hefyd, dysgwyliwn iddo ein dwyn drwyddi hefyd; a dim hwy nâ'r galwad, dyma efe wrth law fyth, adn. 4,—"Ni ddywedir mwyach am danat gwrthodedig; am dy dir ni ddywedir mwy, anghyfannedd; eithr ti a elwir Hephsibah; a'th dir, Bulah; canys y mae yr Arglwydd yn dy hoffi, *a'th dir a briodir*." Yn nyddiau Peleg y rhanwyd y ddaear, Gen. 10, 25. Pan y dywed Moses, Gen. 1, 9, ddarfod i Dduw gasglu y dyfroedd odditan y nefoedd i'r un lle, onid oedd yr holl dir o angenrheidrwydd yn yr un lle? A phan y delo yr amseroedd adferiad pob peth ag y sonia Pedr, yn Act. 3, ac ereill, am dano, unir yr holl ynysoedd a'r cyfandiroedd â'u gilydd fel yr oeddynt. Tery Ioan yr hoel hon i le cadarn, a selia y pwnc i fyny o'n plaid, Dat. 16, 20,—"A phob ynys a ffoodd ymaith," canys heb foroedd anmhosibl fod ynysoedd. Ac nid ar *fynydd*, ond ar *fynyddoedd Israel*, y bydd y gwaredigion, pa rai a fyddant yn ddirifedi, am a wyddom ni. Yr hyn a brofir yw y bydd *un brenin, a'i enw a'i lywodraeth yn un dros yr holl ddaear*. Ac felly mae ein pwnc wedi ei brofi serch sychu y moroedd i hyny!

Wedi profi mai yn yr America yr adeiledir Seion yn fyr am y tro hwn, ceisiwn gyfleusdra etto i ddangos yr anghenrheidrwydd o honi, ei defnyddioldeb, ei gwychder, a'i gogoniant, ynghyd â'r galwad i ymgasglu yno, a'r perygl o beidio myned, &c.

---

## Y "*CASAWR* TWYLL" WEDI EI BROFI YN *GARWR*,

### LLUNIWR, A CHYHOEDDWR, "TWYLL" EI HUNAN.

*(Parhad o tudal. 75 o Brophwyd Mawrth.)*

Addefwch hefyd eu bod yn gwneyd coffa o farwolaeth yr Arglwydd

drwy y *Sacrament*, da iawn etto, canys haera erlidwyr ereill nad ydym; ond coelir chwi ganddynt, gobeithiwn. Rhinweddol y cyfrifir hyn yn mhawb; a gobeithiwn na chyfrifir yn dwyll yn y Saint. Addefwch hefyd na feiddiasant gyfranu o'r elfenau hyd nes eu bendithio. Ewch yn mlaen, gyfaill, mae y Saint yn gwella yn siwr. Ar ol hyn o waith, erfyniodd yr offeiriad ar ei frodyr i gyd-weddio ar i Dduw roddi eglurhad ei 'Ysbryd,' meddwch. Gwell fyth! Goreu po fwyaf a gaffent o eglurhad yr Ysbryd Glân, onide? Nid neb ond anffyddiwr rhydd a'u gwawdiasai am dwyllwyr, oherwydd eu duwioldeb addefol hyn. Da fyddai i chwi a'ch cyffelyb efelychu y Saint fwy yn hyn, a gwario llai o'ch amser prin yn eu camddarlunio a'u gwawdio. Ond chwareu teg o bob tu. Efallai mai yr arferyd y dwfr yn y cymmun a ystyriwch yn ddigon o dwyll i gondemnio yr OLL a wnant, yn ddiwahan! Wel, pwyswn hyn hefyd yn nghlorian hoblogaidd yr oes, i ddechreu; ac yna yn yr un wirioneddol. Addefwch mai arddangosiad o dywalltiad gwaed Crist yw cynnwysiad y cwpan; o'r goreu, felly ninnau; ond, oni ddaeth allan o'i ystlys santaidd "DDWFR a gwaed," paham na arddangoswch y ddau, neu y naill yn ogystal â'r llall? Atebwch chwi neu ryw un arall drosoch ag a feddo fwy o ddoethineb ddynol os galla. Etto, pa un ai dwfr pûr, ynte cymmysgedd aflan a gwenwynig o *logwood*, gwirod, a *drugs* ereill meddwol, yw'r puraf a'r addasaf i arddangos peth mor bur a dihalog â gwaed Crist? Ai tybied y cymmeradwya Duw wîn aflan yn y cymmun yn fwy na dwfr glân? Gwnaiff, ebe chwaeth y meddwyn yn unig. Wedi colli y resymeg o '*arddangosiad*,' diangwch i'ch twyll dan waeddi, "y mae gorchymyn o blaid arferyd gwin." Wel dilynwn chwi yna hefyd, canys y mae genym air neu ddau ar hyna etto. Y gair "*cwpan*" a geir yn yr ysgrythyrau lle y dywedwch chwi "*gwin*;" ac er y dadleua rhai oddiwrth gerydd Paul i'r Corinthiaid, mai diod feddwol oedd yn y cwpan yno, nid yw hyny yn un prawf mai dyna a arferodd, nac a orchymynodd Iesu Grist; pe buasent hwy wedi cael eu twyllo neu gamsynied am y *sort* o win yn Corinth, nid dyna eu hunig drosedd. Profa Crist yn Luc xxii, 18, Mai "ffrwyth y winwydden," yn ddieplesedig, a ddewisodd efe pryd hyny; sef, o'r un natur a phurdeb ag a yf gyda hwynt ETTO (paham *etto* os nad cynt?) yn newydd yn nheyrnas ei Dad, pan fwytânt ar ei ford yn ei deyrnas. Ni feiddia neb ddweyd mai diod feddwol fydd yno, debygwn; ac felly ni allant ddweyd mai un feddwol oedd y llall, oherwydd mai cyffelyb y ddau gwpan. Ai gwlybwr felly, ynte diod feddwol a arfera ein cyhuddwyr yn y cymmun? Os am orchymyn yr ydych, deuwch yn mlaen law yn llaw â'r Saint i gadw y gorchymynion, neu eu hanner, cyn eu condemnio hwynt. Oes, y mae gorchymynion pendant i fod "yn awyddus i BROPHWYDO, AC NA WAHARDDWCH lefaru â thafodau newyddion." Pa le yr ydych yn awr, gyfeillion? Deuwch yn mlaen etto, mae gorchymyn i eneinio y cleifion ag olew, ac arddodi dwylaw er derbyn iechyd. Pwy yw y blaenaf yn awr? Yn mlaen yr aiff y Saint etto yn gyflym, gosododd Duw yn ei eglwys apostolion, prophwydi, a'r holl ddoniau ysbrydol. Ufyddha y Saint i'r oll o honynt. A gafodd rhai o honoch chwi hawl i'w dirymu? Os do, atebwch; os naddo, pwy o honoch a all daflu careg at y Saint am arwyddo drwy elfen bur, y dwfr a ddaeth o ystlys wânedig eu Harglwydd? Erbyn

hyn clywaf chwi oll yn canu yr hen *ibsi dixit*. "Mae y pethau yna yn afreidiol yn yr oes oleu hon." Wel dyna chwi yn eich rhwyd eich hun felly; pwy a gondemniai enwad cyfan yn dwyllwyr gyneu am yr hyn a ystyriwch chwi yn wyrni yn un o'r elfenau perthynol i un ordinhad! Ac yn awr yn gallu diflanu y cyfan braidd eich hunain! dyma beth yw "hidlo gwybedyn a llyncu camel," debygwn! Ond deuwn yn nes etto er terfynu y ddadl; creda y Saint *bob* gorchymyn, a'r un dan sylw hefyd; credant mai ffrwyth y winwydden fyddai yr addasaf yn y cymmun, a hyny a ddefnyddiant pan y gallant ei gael: hyd hyny mae ganddynt oddefiad oddiwrth sefydlwr rhesymol y ddefod i ddefnyddio yr elfen nesaf ato o ran purdeb; oes, a ffeithiau digonol i brofi cymmeradwyaeth eu Duw o hyny. A dylech wybod mai fel nyni y gwnelai canrifoedd boreuaf yr eglwys. Gwyr y Saint beth y maent o'i gylch, er fod eu gwawdwyr ffol yn cablu y pethau na wyddant o'u herwydd, ac yn tynu arnynt eu hunain ddinystr buan. Erbyn hyn, diflanodd y "twyll" o hyn hefyd, a'r gwirionedd sydd yn gloywi po fwyaf ei trinir. Am eich ffregod o fod yr offeiriaid yn gallu cysgu pan y mynont, yr hyd y dewisont, ar yn ail, a bod yn rhaid iddynt golli eu hysbryd eu hunain fel y caffai Ysbryd Duw fenthyg eu tafodau, &c., afreidiol dweyd mai chwychwi yw tadws hwna; gwelir ar ei ruddiau mai brawd undad i'r lleill yw. Pwy a welodd ddynion a allent wneyd felly? os gwir, dyna i chwi wyrth! Ni wyddem ni o'r blaen fod ysbryd dyn yn ymadael ag ef pan gysgo! *Ffei* ddyn!! Mae yr enghreifftiau a roddwch o'r llefaru â thafodau yn enghreifftiau o gôf anhygoel hefyd! Difyrus iawn genych yw gwawdio pethau santaidd fel hyn! Ac addefwch ar yr un pryd na wyddech yn y byd beth oeddent, ond *gwyddech* fod Belzebub yn eu deall! pa fodd y deallasoch hyny? Cofiwch mai gweision haerllucaf a mwyaf rhagrithiol Belzebub a waeddent *Belzebub* uchaf, hyd y nod yn ngwyneb Mab Duw. Mae eich brodyr erlidgar, sef Gwcw y Don, &c., wedi cyhoeddi, nad yw y Saint yn gwneyd dim rhith neu ymddangosiadau o'r doniau yn eu cyrddau, ond mai celwydd yw eu proffes gyhoeddus o hyn; ond am danoch chwi, diolch i'ch dwlni, mae eich tystiolaeth chwi o blaid y Saint, a dysgwylir i bawb eich credu yn hyn fel yn mhob peth arall. Prawf hyny ein tebygolrwydd i'r eglwys apostolaidd, wrth yr hon y patrymwn yn mhob peth. Wel, dyna ddigon er terfynu y ddadl o'n plaid am byth, gobeithiwn. Nid yw anwybodaeth y personau o'r hyn a lefarent mewn tafodau dieithr, yn profi twyll y Mormoniaid, ddim mwy nag yr oedd eiddo y Corinthiaid yn eu profi hwythau yn dwyllwyr; h. y., os gwiw cynnyg i chwi eiriau Paul mwyach. Yn 1 Cor. xiv, 13, profa Paul na wyddai y llefarwyr hyny beth oedd un sill o'r hyn a lefarent;—"Yr hwn sydd yn llefaru â thafod dyeithr, *gweddied* AR IDDO ALLU cyfieithu." Os gallent, paham eu hannog i *weddio am allu!* Yn adn. 14, dywed fod ei "ddeall yn *ddiffrwyth*," pan lefarai â thafodau. Gwelir eich twyll chwi a chywirdeb y Saint yn eglurach etto yn adn. 2, "Canys yr hwn sy'n llefaru a thafod dyeithr, nid wrth ddynion y mae yn llefaru (pam y condemnia dynion am na ddeallent ynte?) ond wrth Dduw; canys nid oes neb (dynion) yn gwrando (yn ddeallus); er hyny yn yr ysbryd y mae efe yn llefaru dirgeledigaethau." Pa fodd y dysgwyliwch chwi ddeall, ynte? Nid llefaru Hebraeg wrth Roegwr, na Saesneg wrth

Iuddew oedd hyn fel yr esbonia eich dwlni duwinyddol chwi; ond hollol anneallus oedd y llafariad i bawb, hyd nes ei cyfieithid drwy y "ddawn o gyfieithiad" drwy Ysbryd Duw. Pe deallasai y digred y tafodau, ni buasent yn dweyd "eu bod yn ynfydu." Gwel adn. 23. O na, dirgeledigaethau ydynt eiddo yr Arglwydd, ac efe yn unig a all eu begluro drwy'r cyfieithiad. Felly y dywed y Saint hefyd. "Am hyny tafodau ydynt arwydd," nid i achosi rhai i gredu, ond arwydd o'u sêliad mewn anghrediniaeth; canys "ni'm gwrandawant felly (sef, drwy wefusau estronol, neu dafodau dieithr) medd yr Arglwydd." Felly nid rhyfedd i chwithau druan galedu fwy fwy wrth glywed yr unrhyw arwydd; oherwydd felly y bu, y mae, ac y bydd, "medd yr Arglwydd." "Dyn anianol nid yw yn deall y pethau sydd o Ysbryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef; ac ni all ychwaith, oherwydd yn ysbrydol y bernir hwynt." O achos eich amddifadrwydd o Ysbryd Duw, sef *ysbryd y brophwydoliaeth*, y gwawdiwch bethau mor santaidd; canys pethau Duw ni ddeall neb ond drwy Ysbryd Duw. Felly ar bob gair profwch eirwiredd y Saint, a'u crefydd, serch cyhoeddi eich twyll eich hun! Am y cynlluniau dirgelaidd y dywedwch sydd gan y Saint i wneuthur marsiandiaeth o bobl; cyffelyb i'ch haeriad, "eu bod yn hòni bod yn olynwyr i'r apostolion" ydyw; heb un sill o wir ynddynt fel y rhaid y gwyddoch os buoch gyda y Saint. Pe gallasech gyhoeddi rhyw beth gwaeth, diau mai melys fuasai genych wneyd. "*Marsiandaeth*" aie? teilynga pawb hyn yn fwy na'r Saint. Ond ofer helaethu, canys yn ein byw ni allwn ganfod dim twyll drwy'r cyfan, ond eich twyll chwi. Cymmered Mr. Rees ychydig o'r *pills* hyn hefyd gyda chwi; ïe, llynced ein holl erlidwyr eu *dose* fel y carther yr aflendid oddiar eu cylla, er eu lles, a'u dwyn i garu gwir yn lle caru celwydd yw'n dymuniad dyna'r cwbl.

---

## "MEIRIADOG" FAWR EI DRWST O LANFAIR CAEREINION WEDI FFORFFETIO EI BEN I FOD YN FOOTBALL!!

Cofus i'r gwr uchod ysgrifenu i'r *Bedyddiwr*, epistol gwarthus yn erbyn Robert Evans a'r Saint, gan ei herio i ddadleu âg ef drwy'r *Bedyddiwr*. Gwrthodai R. E., oherwydd na chyhoeddai y *Bedyddiwr* amddiffyniadau, namyn pob drwg yn erbyn y Saint. Amheuodd "*Meiriadog*" hyn mor gadarn nes yr addawodd o flaen tystion "y rhoddai ei wddf i'w dori, a'i ben yn *football*, os na chaffai yr eiddo R. Evans ymddangos yn y *Bedyddiwr* fel yr eiddo ereill." Ychwanegodd am i R. Evans anfon ei ohebiaethau iddo ef, ac y mynai efe eu cael i mewn yno. Ond gwelir oddiwrth a ganlyn pa fodd y cyflawnodd ei adduned, serch ei bod ar gost ei ben ei hun:—

Mr. Gol.,—"Hyshys i ddarllenyddion y *Bedyddiwr* am *Medi* y flwyddyn ddiweddaf, drwy ddesgrifiad Mr. *Meiriadog* ei hun, fod dadl i fod rhyngddo ef a minnau drwy'r *Bedyddiwr*. swm yr hon oedd,—Ei fod ef i brofi bodoldeb eglwys Dduw heb y doniau ysbrydol ynddi: a minnau, o'r ochr arall, i brofi yr addewid am, ynghyd â'r anghenrheidrwydd o'r doniau ysbrydol cyn y gallai deilyngu y cymmeriad o fod yn eglwys i Dduw. Addawodd os anfonwn fy llythyrau iddo ef

y byddai iddo eu hanfon i'r *Bedyddiwr*, ac yr anfonai ef y llythyr cyntaf yno i'm galw i'r maes. Ond yn lle hyny anfonodd yno restr o enwau drwg arnaf, megys "*twyllwr*," "Golwg geinioglyd," "arch-dwyllwr y gogledd," yn pregethu "gwyrth llysnafedd," a'm bod yn myned i ddystryw yn wyrthiol, &c., &c. Ie, dyma fel y dechreuodd y ddadl cyn cynnyg un prawf i'w bwnc! Ar y cyntaf meddyliais i, a phawb a'r a glywais, nad oedd ei flacardiaeth a'i gamgyhuddiadau ceerus yn teilyngu un atebiad, ac na ellid dysgwyl argyhoeddi dyn mor rhydd, gydag ysgrythyr na rheswm. Ond tua'r diwedd proffwyda *Meiriadog* na cheid clywed gair byth oddiwrth "hen twyllwr y gogledd," yn ol ei dyb ef! Tebyg mai er darostwng ei hun islaw fy sylw y gollyngodd allan y *froadside* cywilyddus, enllibus, ac anghristionogol hwn i ddechreu. Ac erbyn ei orphen, meddyliai y llwyddodd i hyny. Ond ysgrifenais ato amddiffyniad o'r hyn a addawswn, ynghyd â sylwadau ar ei ysgrif, dymunais arno ei anfon i'r *Bedyddiwr* yn ol ei addewid gadarn. Cefais ddigon o le i ddeall ddarfod iddo ei dderbyn, a dysgwyliais o fis bwy gilydd am ei weled yn y *Bedyddiwr*; ond dim ni welais! Fel hyn, er y pryd hyny, daeth, ac aeth yn eu cylch aml loer heb na *hew* na *mew* oddiwrth y *challenger* mawr, na'm hamddiffyniad innau!! Ychwaith ni chlywais am ei dranc, ond clywir aml un yn dweyd yma a thraw fod *Meiriadog* wedi *fforffetu* ei ben i mi, fwy nag y darfu Ioan i Herod o lawer. Ac nid annhebyg iddo wneyd hyn yn ei awydd mawr i wirio ei gau-brophwydoliaeth uchod; sef nad atebwn ef!

"Mae genyf gopi o'm llythyr, ac amcanaf ei gyhoeddi os bernir fod yr hyn a ddyfynir o'i eiddo ef yn deilwng o'i osod o flaen y cyhoedd. Cymmaint â hyna am addewid (*gwerth pen!*) Meiriadogyn fawr ei drwst! Dylasai adnabod y *Bedyddiwr* yn well; cafodd ddigon o brofion i'r gwrthwyneb. "Goreu y ddysg a brynir," ebe'r hen air. Cofied yntau naill ai gollwng allan fy llythyr drwy y *Bedyddiwr*, neu beidio a bod mor barod o wystlo ei BENGLOG, rhag ofn yr adduneda ei roi i'r rhai sy'n myned oddiamgylch y wlad i chwilio am *benglogau*. Beth pe y daliai y rhai hyny ef at ei air! Am danaf fi nid oes yn ei benglog ddim a chwenychwn, a chaniataf iddo gael yr hawl a roes i mi o hono ar yr ammod o fod iddo wneyd gwell defnydd o'i ben o hyn allan na chablu y pethau na wyr, ac na ddewisa ddeall o'u herwydd!

"*Y dyddiau diweddaf* a wawriodd,
A'r angel a draethodd y drefn;
Yr Iesu ddewisodd ei weision
I drin ei achosion drachefn.
Mae heddyw yn galw rhai gwaelion,
A'r doethion yn cilio naill du,
Ond pan ddel ei hunan i Seion,
Bydd gwae i elynion ei lu.

R. EVANS, *Glan Conway*."

---

## NEWYDDION O'R "GWERSYLL BLAENAF."

Bu dau o'r brodyr oedd yn ngwersyll "*Council Bluffs*," ar eu taith mor belled i'r gorllewin â *Pueblo*. Yno cawsant 170 o'r "Fyddin

Formonaidd" yn gauafu, a'r gweddill o'r 500 a oresgynasant ddinas *Alpasso*, yr hon a gynnwysa tua 5000 o drigolion, ac yn mha fan y daliant allwedd y fynedfan rhwng y mynyddoedd creiglyd; ac ni all byddin fyned o Mexico i California ond trwy y bwlch cyfyng hwn. Gan fod y gauaf yn trymhau, arosasant yma, gan adeiladu gwrthgloddiau, ac amddiffynfeydd cedyrn, dan arolygiad henaduriad A. Babbitt, yr hwn a ddetholwyd gan y llywodraeth. ac a anrhegwyd â swydd uchel yn y fyddin Americanaidd. Yr oeddynt oll yn iach a chysurus pan y gadawodd yr haneswyr hwynt. Wrth ddychwelyd, yn ystod tua chwarter blwyddyn o deithio drwy'r goedwig heb na ffordd nac arweinydd, yspeiliwyd hwynt dair gwaith o'u ceffylau a'u hymborth gan yr Indiaid, a rhoisant iddynt fulod yn eu lle. Eu hunig luniaeth braidd drwy'r amser oedd cig y *Buffalo*, y rhai a welent yn finteoedd lliosog drwy'r wlad, ac yn hynod o ddofion. Mae'r holl wersylloedd o Saint drwy'r anialwch a'r taleithiau yn ymbarotoi i ymfudo tua'r gorllewin can gynted ag y caniatâ y tywydd.

---

## DYFYNIAD O LYTHYR O EIDDO UN O'R "DEUDDEG."

"Parhewch yn gwneuthur daioni, yr ydych gyda gwaith rhagorol. Bwriwch i mewn eich cryman fel gwr i Dduw. a medwch—nid yn *daranllyd;* ïe, yn daranllyd, ond mewn addfwynder, a thystiolaethwch am ymadroddion dechreuad crefydd Crist. Ac ar ol ffydd, edifeirwch, bedydd er maddeuant pechodau, a derbyn yr Ysbryd Glân drwy arddodiad dwylaw. Pan ofyna y bobl, beth nesaf? Dywedwch wrthynt, "O. Jerusalem, Jerusalem," &c., ymgasglwch ynghyd, ymgasglwch. Beth wed'yn? Ymgrynhowch. A pheth wed'yn? Casglwch eich hunain ynghyd, O chwi blant y deyrnas, i'r fan yr addawodd yr Arglwydd waredigaeth; ïe, ymbarotowch erbyn eich cychwynfa i dy yr Arglwydd, gorphwysfa y Saint."

---

## YR YMGASGLIAD TUA SEION.

Gweler fawr amryw ddoethineb a daioni Duw tuag at ei blant yn mhob oes yn trefnu gwaredigaeth dymmorol ac ysbrydol, pan y mae holl ddoethineb ddynol yr oesoedd hyny yn credu yn, ac yn canmol y waredigaeth *ysbrydol*, meddant, ac ar yr un pryd yn gwawdio ac yn diystyru y rhai a ymbarotoant i dderbyn y waredigaeth *dymmorol*, gan wyrdroi y dybenion o honi i'w dinystr eu hunain, drwy wrthod ymgasglu gyda phlant, ac yn ol gorchymynion Duw. Arferiad Duw yw rhybuddio y byd, neu y cyfryw fan o hono ag y bydd ar ei ddystrywio, a'r modd y gwna hyny yw drwy anfon ei weision i bregethu iddynt yr efengyl, neu y drefn a'u dug i gymmod â Duw yn Nghrist: ac wedi hyny amlygir iddynt drefn Duw i'w gwaredu rhag y barnau a ddyry Duw ar y rhai anufydd i'w alwad, ac a anmharchant ei weision; ac felly dibyna eu gwaredigaeth *ysbrydol* ar eu crediniaeth yn, a'u hyfydddod i'r waredigaeth *dymmorol*. Wedi i'r gweision wahodd. pregethu, annog. a rhybyddio yn daer, mewn amser ac allan o amser, yn

mhob dull arall, ac yn ofer, y bregeth *olaf*, y dystiolaeth *uchaf*, a'r hon sy'n sêlio i fyny bob un a'i gwelo yw, *ffoedigaeth y Saint!!* Tystia hyn eu bod yn gwybod beth y maent yn ei wneuthur. Tystia hyn fod y perygl wrth y drws, ac yn anocheladwy drwy aros. Tystia hyn nad rhagrith a achosa i bobl adael eu gwlad, eu perthynasau, eu meddiannau, a'r oll a fu yn werth ei gael yn eu golwg. Dyma y dystiolaeth a sêliodd i fyny y Sodomiaid. Dyma oedd tystiolaeth olaf y Saint i'r Jerusalemiaid; "pan weloch Jerusalem wedi ei hamgylchu a lluoedd, *ffowch i'r mynyddoedd.*" Felly y tystiolaetha Saint y Dyddiau Diweddaf hefyd drwy eu hymgasgliad o bob gwlad a chenedl yn un teulu, ac a ffoant tua'r mynyddoedd creiglyd, a'r gorllewin pell, i chwilio am y waredigaeth sy'n addawedig rhag y barnau, y newynau, yr heintiau, &c., sydd i ddilyn megys wrth eu sodlau. Parha y ffoedigaeth olaf hon i ddylifo wrth y miloedd o bob iaith a chenedl tua chanol nod eu hymgyrch, neu'r *load stone*, sef Seion, hyd nes y delo y rhai gonest eu calon i glywed am, ac i ufyddhau i, genadwri Duw drwy ei Saint yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd diweddaf hyn, dyben ac amcan yr hon yw crynhoi ynghyd yn Nghrist Iesu ei holl etholedigion, sef ei Saint, o bedwar cwr y byd i Seion. Eisoes y mae ysbryd y casgliad wedi dwyn ei filoedd o ynysoedd y môr, heblaw o bob talaeth drwy'r cyfandir. Tiriodd yn California yn ddiweddar 150 o frodorion y *Sandwich Islands*, yn flaenffrwyth o'r cnwd toreithiog a droant eu wynebau etto o Ynysoedd Môr y De tua Seion am waredigaeth. Nid yw y rhai hyn ond ychydig mewn cyferbyniad i'r gweddill o'r brodorion hyny sydd wedi ufyddhau i gyflawnder yr efengyl eisoes, er gwaethaf gwrthwynebiadau y cenadon sectaraidd hefyd, cofier. Onid yw holl arwyddion yr amserau yn profi i chwi, Saint, yr anghenrheidrwydd sydd am ryw ymguddfa ddiogel rhag y llid bygythiol? Fod eisiau dianc i'w hystafelloedd am enyd fechan hyd onid elo yr aflwydd heibio? Gofynwch i holl ddoethion ein hoes, yn mha le y ceir gwaredigaeth? Ac ni cheir ateb. Gofyner i'r gwaelaf o'r Saint, pa le y bydd gwaredigaeth dymmorol? Ateba, mai yn "*Mynydd Seion*," medd Duw, a gwyr yn mha le y mae hwnw! Dyna y lle a hoffodd yr Arglwydd yn drigfa iddo ei hun; "Efe a fendithia ei *luniaeth*, ac a ddiwalla ei *thylodion a bara.*" Hefyd, cofier mai "tegwch bro, harddwch y byd, yw mynydd Seion yn *ystlysau y gogledd*," ebe y Bibl. Chwi blant Seion, dyrchefwch chwi eich penau goruwch yr holl drallodion, serch eich bod ar wasgar drwy Babilon fawr; y mae eich ymwared chwi yn agosâu yn gyflymach nâ'i dinystr hi, serch hyny. Ymbarotowch, ymbarotowch yn mhob dull i dalu eich dyledion i'r byd; ymdrechwch rybuddio pawb yn dyner o'u perygl, a thystiolaethed eich esiamplau da i bawb lle y bo'ch, eich bod yn ceisio gwlad well; ïe, un yn llawn o bob daioni.

---

## CYMMANFA SIR FYNWY.

Cynnaliwyd y Gymmanfa hon yn Nant-y-glo, dydd Sul. y 25 o Ebrill. Am ddeg y boreu, yr oedd y Neuadd yn orlawn o bobl siriol, a channoedd yn myned ymaith oherwydd methu cael lle i ddod i mewn.

Etholwyd Capt. D. Jones yn llywydd, yr hwn, wedi cydnabod yn ddiolchgar yr anrhydedd mawr a'r ymddiried a roisant ynddo, a dangos pwysfawrogrwydd a chyfrifoldeb y cyfryw lywyddiaeth, a ddymunodd gynorthwy ffydd a gweddiau y Saint i'w chyflawni yn iawn, ac a agorodd y gymmanfa drwy ganu a gweddio. Anerchodd y dorf yn serchus ac effro o barthed i'r gwaith mewn llaw, &c., ac yna galwodd ar lywyddion y gwahanol ganghenau drwy'r gynnadledd i gynrychioli eu heglwysi, yr hyn a wnaed fel y canlyn :—Rhif y canghenau, 8 ; Henuriaid 8 ; Offeiriaid 16 ; Dysgawdwyr, 10 ; Diaconiaid, 5 ; y nifer a fedyddiwyd er y gymmanfa ddiweddaf, 114. Cyfan-nifer, 236. Darluniai y llywyddion ansawdd eu canghenau yn gysurus a gobeithiol iawn ; fod cariad a sel yn cynnyddu fel yr oedd erlidigaeth yn poethi ; fod y Saint yn cynnyddu mewn doniau ysbrydol yn ogystal ag mewn rhifedi, ac fod y rhai taeraf a duwiolaf yn derbyn doniau ychwanegol, er fod rhai a ddaethant i mewn o ddibenion gau yn troseddu ac yn dychwelyd i'w lle eu hun yn ol weithian.

Yn y cyfarfod prydnawnol, wedi cyfranu o Swper yr Arglwydd, galwyd 2 Henuriaid ; 7 Offeiriad ; 4 Dysgawdwr ; 4 Diaconiad ; bendithiwyd amryw blant ; a dangosodd y llywydd yn Saesneg a Chymraeg, bwysfawrogrwydd, defnyddioldeb, dyledswyddau, a chyfrifoldeb, y gwahanol swyddwyr. Yna daeth y llywydd F. D. Richards, cenadydd o'r America, yn mlaen, ac a gyfarchodd y Saint yn fyr a melys iawn, gan ddangos y gobaith a osodwyd o'u blaen, a'u sicrwydd o'u mwynhau ar lwybr eu dyledswyddau, &c.

Am chwech, pregethodd yr Henuriad Wm. Davies, Rymny, egwyddorion sylfaenol yr efengyl dragywyddol, a dilynodd y brawd Richards ef, gan ddarlunio gyda medrusrwydd a hyawdledd rhyfeddol, ogoniant Seion, a mawr fwyniant ei phreswylwyr, dylanwadau santeiddiol yr Ysbryd Glân ar y Saint, pa fodd eu haddasa i fod yn waredwyr ar fynydd Seion, &c. Ond, byddai rhy faith yma i geisio gwneyd tegwch â'i araeth, yr hon a lawenhai galonau y Saint nes ymddigrifo yn eu gobeithion. Gwnaeth y llywydd araeth fer a chymhwysiadol i'r Saint, i'r gwrandawwyr siriol, ac yna cyfarchodd ein herlidwyr (pa rai oeddynt ar y pryd, yn taflu ceryg drwy'r ffenestr yn ei ymyl) gan weddio drostynt ; a therfynodd y gymmanfa gysurus hon er bendith mawr i lawer heblaw i'r Saint.

David Jones, *Ysgrifenydd.*

---

## PROPHWYDOLIAETH MR. WESLEY AM FORMONIAETH!

Oddiwrth weledigaethau Daniel dysgwyliai y duwiolfrydig Mr. Wesley, ebe "Yr *Amserau*" Americanaidd, y dechreuai cyfnod newydd yn y byd crefyddol yn y flwyddyn 1827, yr hyn a wnai drwy roddi yr "amser, amseroedd, a hanner amser," h.y. 1260 o flynyddau ag y byddai yr eglwys yn y diffaethwch, at y rhif 567, sef yr amser pan aeth yno ; a dywedai mai yn y flwyddyn 1830 y dechreuai y gwaith mawr hwnw a ddygai y milflwyddiant i mewn ! ! Rhyfedd mor gywir y cyfrifodd ; canys yn y flwyddyn hòno sef 1827, yr ymddysgleiriodd goleuni cyflawnder yr efengyl i'n daear ni, y daeth yr angel a welodd Ioan, Dat. xiv, 6, ac yr adferodd allweddau teyrnas Dduw i'n byd, y dygwyd

"Llyfr Mormon" i oleuni o ymguddfa oesoedd, ei cyfieithiwyd drwy ysbrydoliaeth, a thrwy yr "Urim ar Thumim:" ac yn y flwyddyn 1830, y sefydlwyd eglwys Iesu Grist, Saint y Dyddiau Diweddaf, ar sail Apostolion a phrophwydi, ac Iesu Grist ei hun yn ben conglfaen. Nid oedd ynddi y pryd hyny ond chwech o aelodau, ac erbyn hyn mae cannoedd o filoedd drwy bedwar cwr y byd, ac ynysoedd hefyd yn byw mewn gobaith o gael mwynhau heddwch a gwynfyd y Jubili fawr ag y dywed Mr. Wesley oedd i ddechreu y pryd hyn. Mae cannoedd, os nad miloedd, o'i ganlynwyr ef wedi ufyddhau i gyfiawnder yr efengyl, ac yn gweled mai gwir yw ei brophwydoliaeth; a'r rhyfeddod fwyaf yw, pa fodd y gall neb o'r rhai a'i credent ef mewn pethau ereill ei ammau yn hyn, na gwrthod y goleuni dwyfol hwn pan gynnygir iddynt! Credwn y buasai Mr. Wesley yn gorfoleddu yn y newyddion daionus hyn pe cawsai gynnyg o honynt. Rhodiodd yn ol y goleuni goreu a allai gael, a diau mai mawr fydd ei wobr. Ai tybied na fydd yn dyst yn erbyn hyd y nod y rhai o'i ddilynwyr, a wrthodant yr efengyl hon, yn enwedig pan y mae efe wedi gadael ei dystiolaeth ar ol am dani!

---

## TIRIAD DIOGEL Y DDAU APOSTOL.

**Dywenydd mawr fydd gan y Saint glywed yn ddiau fod yr apostolion P. P. Pratt, a John Taylor, wedi tirio yn New Orleans yn iach a chysurus, ar y 10fed o Fawrth, ac wedi cael ager-fad yno i'w cludo i fyny at eu brodyr a'u teuluoedd. Diolch i'w Ceidwad am eu cynnal.**

---

## LLAWNDER O FLAEN NEWYN!

**Yn yr Aifft bu saith mlynedd o lawnder o flaen y saith mlynedd newyn. Nid ydym yn dweyd mai felly y bydd yn yr America; etto, os nad go gyffelyb y bydd yno, profir nad ydym ni yn deall na phrophwydoliaethau nac arwyddion yr amserau. Mae yr Unol Daleithiau wedi dangos haelioni mawr a chanmoladwy iawn at ddyoddefyddion newynog yr Iwerddon. Maent wedi llwytho llongau rhyfel â lluniaeth, a'i anfon yn rhad dros y môr i ddeiliaid y llywodraeth hon! Da iawn. Ond goddefasant i gannoedd o filoedd o'u deiliaid eu hunain gael eu halltudio yn ddiachos o'u tai, eu tiroedd a brynasant ganddynt hwy, i farw o newyn yn yr anialwch o'u rhan hwy, heb neb i dosturio, na braich i'w cynnal, ac heb son am eu hanrhegu â bwyd na dim. *Charity begins at home*, ebe'r hen air; ond nid felly hwynt tuag at y Saint. Onid â'r mesur y mesurant yr adfesurir iddynt hwythau?**

**Casglwyd yn agos i hanner miliwn o *ddollars* mewn llai o amser yn y wlad hôno i'r Gwyddelod nag y buont yn yspeilio y Saint yn yr un wlad o gymmaint â hyny bum gwaith o werth, heblaw y bywydau anmhrisiadwy a ferthyrwyd, a'r dyoddefiadau ereill a archollasant ar y Saint! Dangosasant y tiriondeb mawr hwn at *estroniaid*, a'r creulondeb a'r anghyfiawnder mawr arall at eu *brodyr gwladol*! Diwallasant anghenion y rhai oeddynt yn dyoddef oherwydd pethau y byd hwn, ac aethant heibio i blant Duw, y rhai sydd yn dyoddef yr oll oherwydd tystiolaeth Iesu a gair Duw, gan droi eu penau draw, a'u gadael yn yr anialwch yn fwyd i fwystfilod rheibus o'u rhan hwy! Gwiriant un gair o leiaf yn hyn, sef fod "plant y byd hwn yn ddoethach yn eu**

hoes [i helpu y naill y llall] nag yw plant y deyrnas," er nad yn ol eu gallu ychwaith.

Drwy lythyr a dderbyniasom oddiwrth yr apostol Orson Hyde, yr hwn a ysgrifenodd ar ei gyrhaeddiad yno o Lynlleifiad, dywed nad oedd yn yr holl ddinas, sef Caerefrog Newydd, ddigon o flawd i ddiwallu y trigolion am bedwar diwrnod, oherwydd iddynt ei werthu mor llwyr i farchnadoedd Ewrop, gan ddysgwyl i'r afonydd a'r camlasau agoryd yn gynt, a chael eu stori. Heblaw hyn, deallir hefyd fod y prynwyr yd a blawd o wahanol wledydd, heblaw o'r taleithiau dwyreiniol, wedi heidio i'r gorllewin drwy ddyffryn y Mississipi, ac wedi sicrhau y mwyrif o gynnyrch y llynedd oedd yn y wlad, ac am ei ddwyn mewn llongau i'r byd dwyreiniol. Os felly, nid annhebyg y bydd eu blawd, &c., mor brin yn y taleithiau dwyreiniol ac yma cyn y cynauaf nesaf, yn enwedig pan gofir fod cynnifer wedi, ac am ymfudo yno o wledydd ereill eleni, ac yn y pum mlynedd blaenorol, pa rai a gynnorthwyant i fwyta y gweddill a fydd yno with gwrs. Ond etto meddwn, beth fydd eu sefyllfa os metha yr yd yn y cynauaf nesaf? Cofier hefyd at hyn, y llyncu mawr sydd gan eu byddinoedd lliosog ar hyd gororau Mexico. Pan y daw yr holl bethau a draethwyd iddynt i ben, yna y cofiant, gobeithio, ac yr edrychant ar eu dwylaw gwaedlyd, ac y deallant fod gwaedd eu trancedigion, ac ochain y weddw a'r amddifad a yspeiliasant o'u lluniaeth a'u holl eiddo, wedi cyrhaedd hyd glustiau Arglwydd Sabaoth.

---

## AMERICA A MEXICO.

Ymddengys fod y blaenaf yn llwyddiannus iawn i ladd miloedd o'r trueiniaid ereill yn eu gwlad eu hun. Maent wedi ennill amryw ddinasoedd yn ddiweddar oddiar Mexico, ac ar ol meddiannu Vera Cruz ânt yn mlaen tua phrif ddinas Mexico. Dywedir fod Santa Anna wedi cael ei urddo yn llywydd ar Mexico. A sonia rhai newyddion fod heddwch i gael ei wneyd rhwng y ddwy wlad, drwy i Mexico adael i'r Americaniaid gael y Californias.

---

## YR IWERDDON.

Dywedir fod clefydau yn dilyn camrau y newyn yn gyflym. Darllenwn hanesion truenus am gynnifer yn marw fel na ellir cael eirch i'w claddu. Dywedir fod cyrff mewn rhai teuluoedd yn gorwedd yn y tai am hir amser heb neb o'r teulu yn ddigon galluog i'w claddu; a rhai wedi eu claddu rywfodd yn y gerddi, neu yn ochr yr heolydd yn y wlad, a'r cwn newynog yn eu llarpio wed'yn! Arswydus yw eu sefyllfa, a'r hwn sy'n dal tynghed cenedloedd yn ei law a drugarhao wrth ei blant nes yr agorir y ffordd o ymwared. Dyry un o newyddiaduron Llundain gyfrif fod dwy filiwn yn marw o newyn yn yr Iwerddon mewn blwyddyn! yr hyn a wna 5479 mewn diwrnod, 228 bob awr, neu yn agos i bedwar bob mynyd!

---

## AT EIN DOSPARTHWYR.

Anwyl Frodyr,—Welc y *Prophwyd*, trwy eich cynnorthwy chwi a'r darllenwyr ereill, wedi byw nes cyrhaedd yn grwt blwydd oed. Ni ellwch etto braidd ddirnad ei ddefnyddioldeb i chwi os cynneliwch ef nes y delo i faint ac oedran gwr. Hyderaf, gydweithwyr caredig, y gofalwch ar fod yr arian yn treiglo eu ffordd tua'r Wasg a'i gyra i'ch plith; ac er ei fod yn haiarn, gwyddoch na all fyw heb arian. *Hint*, gobeithiwn, a wna y tro ar hyn i ffyddloniaid.

## CYMMANFA MORGANWG.

Cynnelir y Gymmanfa hon yn Neuadd y Cymreigyddion, (*White Lion,*) Merthyr, dydd Sul, Gorphenaf 11eg.

Bydd *Cylchwyl y Gymdeithas Genadol* ar y dydd canlynol, sef dydd Llun y 12fed. Gellir cael tocynau am swllt yr un gan lywyddion yr holl ganghenau, ac ereill, a thaer erfynir ar holl ewyllyswyr da y gymdeithas ddaionus hon ymdrechu a allont erddi, gan obeithio na bydd y chwiorydd tirion un ddim ol i'w sel, eu hymdrechion, a'u ffyddlondeb blaenorol.

D. S: Bydd y wledd ar y ford erbyn hanner awr wedi dau o'r gloch y prydnawn, a thraddodir darlithoedd yn yr hwyr.

---

## GWOBR AM WERTHU LLYFRAU!

Gwobrwyir yr hwn a wertho fwyaf o'n llyfrau erbyn diwedd y flwyddyn, â chopi o bob traethawd a gyhoeddwyd genym yn y flwyddyn wedi eu rhwymo, ynghyd â'r gyfrol o'r *Prophwyd,* mewn croen llo yn y modd harddaf a ellir ei gael. Yn awr, frodyr a chwiorydd anwyl, pwy a gaiff y wobr? Bydd yn hoff gan y *Prophwyd* gyhoeddi i'r byd pwy a'i hennillodd, a thalu ei ddiolchgarwch gwresocaf i'r hwn a gyrhaedda y gamp uchaf.

---

### CYNNWYSIAD.




MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

JOHN JONES, ARGRAFFYDD, RHYDYBONT.

# PROPHWYD Y JUBILI,

NEU

# SEREN Y SAINT.

RHIF. 13.] GORPHENHAF, 1847. [PRIS 2*g*.


## DYLEDSWYDDAU Y SAINT AR OL EU BEDYDDIO.

"DYLAI y swyddogion gael digon o amser i egluro iddynt eu dyledswyddau eglwysig hyd y gellir, cyn y caffont eu cadarnhau trwy arddodiad dwylaw yr henuriaid [lle y bo eglwys, onide gellir eu cadarnhau yn y fan eu bedyddir] na chyn iddynt gyfranogi o'r sacrament. Dylai yr aelodau brofi, drwy eu ffydd a'u gweithredoedd, ynghyd â'u rhodiad difrycheulyd yn ngwydd pawb, a'u hymarweddiad duwiolfrydig gerbron Duw, eu bod yn teilyngu o fewn i'w eglwys le, a chyfran o'i breintiau."—*Ath.* a'r *Cyf.*

Saint anwyl, cofiwch "nad â phethau llygredig megys arian neu aur y'ch prynwyd oddiwrth eich ofer ymarweddiad, ond â gwerthfawr waed Crist." Cofiwch eich bod yn ddrych i'r byd, a bod hyd y nod y proffeswyr creill a amddiffynant eu cyfundraethau ar gost ffaeleddau personau, yn barod i gondemnio yr efengyl a gredir genym ni oll oherwydd y brycheuyn lleiaf a welant yn neb o honom. Cofiwn fod i'n herbyn yn awr yr holl fyd, y cnawd, a'i wyniau, a'i chwantau, a holl dywysogaethau ac awdurdodau teyrnas y tywyllwch; am hyny, gwisgwch am danoch holl arfogaeth Duw ynte, fel y galloch wrthsefyll holl bicellau tanllyd y fall. Pan eich erlidir ac y'ch camgyhuddir, yn eich amynedd meddiennwch eich eneidiau, gan ymddiried am gyfiawnder yn yr hwn a ddywedodd, "Myfi a dalaf." Er fod cariad Crist yn ein cymhell i dystiolaethu i ereill am y sicrwydd sydd ynom, y bendithion a fwynhawn, ac yn ein cymhell i'w gwahodd hwythau i ufyddhau i'r efengyl, etto dylid ymdrechu am wneuthur hyn mewn doethineb, mewn eglurdeb, sobrwydd, a phwyll, rhag ofn na ddeallant, a rhag i chwi eu drygu yn lle eu hargyhoeddi. Yn anad pob peth cyng-

horwn ar fod pob cynghor a deniadau iddynt yn tarddu oddiar gariad atynt.

Gorfodir ni cyn hyn i gredu fod y Saint wedi tynu erlidigaeth arnynt eu hunain weithiau yn ddiarwybod, drwy dystiolaethu i'r byd am ba ddoniau a dderbyniasant hwy ac ereill, &c. Pa faint gwell yw hyny i'r rhai na chredant eiriau pendant Iesu Grist, pan ddywed, "Y neb a gredo ac a fedyddir a fydd cadwedig;" "A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant," &c., nag a fyddai "taflu gemau o flaen y moch." Beth a ellir ddysgwyl yn amgen nag iddynt "droi a'ch llarpio?" Ceisied pob un at bob dawn arall, *ddoethineb,* ac a'i holl egni ceisied ddeall, fel yr iawn ddefnyddio y pethau ereill.

Cynghorwn y Saint oll, yn enwedig y newyddiaid yn y ffydd, (yn hytrach na dadleu a chyndynu gyda'r rhai gwyrdraws o'r byd, a geisiant gyffroi eich hysbryd, fel y troseddoch, ac y caffont achos i'ch herbyn, na chyda'r rhai sy'n chwythu hen ystoriau disail i'ch wynebau), am i chwi ymgyfeillachu ar bob cyfleusdra gyda'r rhai ag ydynt iach yn y ffydd, y rhai sydd wedi derbyn, ac yn rhodio yn ngoleuni a dyddanwch yr Ysbryd Glân, fel y cynnyddoch beunydd yn y santeiddiaf ffydd. Cofier fod ymddyddanion drwg yn llygru moesau da; a chan nad oes neb yn sefyll ond drwy nerth Duw, gwylier fel nad eler i brofedigaeth drwy gwrdd â themtasiynau, ac felly dristâu Glân Ysbryd Duw. Cynghorwn y Saint i fod yn ofalus iawn na bo y brycheuyn a welant yn arall yn ddraen yn eu calonau hwynt, yn greddfu yno yn wreiddyn chwerwedd, ac yn crawni nes gwenwyno eu hireidd-dra, ac oeri eu cariad cyntaf. Y feddyginiaeth oreu rhag hyn yw, nid ei daenu ar led yr ardal, nac ynganu gair wrth neb cyn myned at yr hwn y tramgwyddwyd wrtho, ac mewn cariad ei argyhoeddi; ac, ond odid mai dyna ddiwedd y rhwystr, yn enwedig os meddir yr Ysbryd hwnw sy'n *cuddio* lliaws o bechodau, yn lle yr Ysbryd cyhuddiadol a niweidiol hwnw ag sy'n amlygu beiau ereill. Ymogeler rhag hwnw fel rhag y wiber! Dysgwylia y byd, ac nid heb achos ychwaith, i'r Saint sy'n proffesu y fath dystiolaeth werthfawr, nefolaidd, ac anhygoel, i ymarddelwi yn gyferbyniol yn mhob peth da, a dysgwylia Duw iddynt fyw yn dduwiolach na neb sydd dan haul. Nid ydym yn ammau nad ydynt felly hefyd; etto, ofer gwadu nad oes lle i gynnyddu llawer gan y goreu o honom.

"Dylai pob aelod a fedd blant eu dwyn at yr henuriaid gerbron yr eglwys, pa rai a ddodant ddwylaw arnynt yn enw Iesu Grist, ac a'u bendithiant yn ei enw ef." "Ni dderbynir neb i eglwys Crist hyd oni chyrhaedda oedran cyfrifol, h. y., y gallo wybod rhwng da a drwg, ac edifarhau yn ddealladwy."

## DOETHINEB YW GALLU.

PROFIR y gwirionedd o hyn mewn llawer dull, amser, a gwlad. Addefir fod gan y doeth ragoriaeth ar yr annoeth. Wel, dilyner y resymeg i'r eithafion, a gwelir gallu a gwerth doethineb. Mae grym dynion i gyrhaedd gwrthddrychau eu serch yn gyferbyniol i'w deallwriaeth am y cyfryw; ac i'r graddau ag y dealla gwladgarwr sefyllfa ei wlad, a chelfyddydwr ei gelfyddyd, yn gyferbyniol i'r doethineb a fedda pob un y bydd ei allu a'i nerth (yn yr iawn ddefnydd o honynt) i lesoli; felly dywed y doethaf o ddynion, "Cyfiawnder a ddyrchafa genedl;" a chynnwysa cyfiawnder ddoethineb, yr hyn yw gallu!

Amlwg yw fod dau fath o ddoethineb; canys bu llawer un yn meddu yn ei dro allu mawr, hyd y nod ar ymerodraethau, ae etto heb fod yn gyfiawn. Mae y ddau fath hyn yn elynion i'w gilydd yn aml, sef doethineb dynion yn groes i ddoethineb Duw, a doethineb y byd hwn i'r ddoethineb sydd oddiuchod, yr hon sydd foneddigaidd, a hawdd ei thrin. Dywedir ddarfod i Dduw wneuthur doethineb y byd hwn yn ynfydrwydd, a bod ffolineb Duw yn ddoethach nâ dynion. Yr achos o hyn oedd, oherwydd fod ffyrdd Duw yn wahanol i ffyrdd dynion; a pho mwyaf a feddai dynion o'r hyn a alwent hwy yn *ddoethineb*, mwyaf oll a wrthwynebent ar ddull y Duw doeth yn cario ei waith yn mlaen. Cenfigenent yn aml oherwydd fod doethineb Duw yn ethol ffol-bethau y byd (neu y rhai a ystyrid felly), fel y gwaradwyddai y doethion, neu y rhai a ystyrid yn gyfryw. Y mae graddau y gwahaniaeth hwn i'r graddau ag yr ymddieithrodd dyn oddiwrth yr "unig ddoeth Dduw," a gwrthwynebiad doethineb dyn i ddoethineb Duw a brofa eithafion ei lygredigaeth ei hun, ei ffolineb, ac o ganlyniad, ei *anallu* i wrthwynebu gwaith a gweision Duw. Mae'n amlwg mai oherwydd eu doethineb ddwyfol y deallodd "plant doethineb" pa fodd i orchfygu eu gelynion ffolach; er enghraifft, Joseph oedd y doethaf yn yr Aipht; Moses oedd ddoethach na seryddion yr Aipht; Dafydd oedd ddoethach nâ holl weision Saul; Solomon oedd y doethaf yn ei ddydd; Daniel oedd ddoethach nâ holl ddoethion Babilon; yr Apostolion trwy eu doethineb (fel y maglodd eu blaenor y doctoriaid pan etto ond plentyn) a rwydasant rabbiniaid a doethion penaf y byd, yn unig oherwydd, ac i'r graddau y cyrhaeddasant eu doethineb; ac yn mhob amgylchiad, i'r graddau hyny y byddai eu nerth, neu eu gallu i gyfiawni eu hamcanion eu hunain trwy ddoethineb serch i'r lleill genfigenu wrthynt, eu herlid a'u lladd, ac felly brofi drwy ffeithiau, eu ffolineb eu hunain, a doethineb y dyoddefyddion, yr hyn a brofa fod cyfiawnder yn cynnwys doethineb, ac mai oherwydd eu doethineb y dyoddefai y doeth, gan ragweled cyfiawnder yn dilyn yn ngloriant ei Dad cyfiawn a *doeth*. Felly doethineb a gyfiawnhawyd gan ei phlant ei hun yn mhob oes a gwlad; ffolineb yw cenfigen, yn tarddu oddiar wraiddyn drwg, a'i ffrwyth yw anghariad, erlid, dial, &c. Dyma y "rith doethineb mewn *ewyllys* grefydd [sef yn eu meddwl eu hunain]

a gostyngeiddrwydd [ymddangosiadol], a bod heb arbed y corff," ag y sonia Paul am dani: nid y rhyw iawn o ddoethineb yw hon. Ond Iago a ddengys y gwahaniaeth rhyngddynt yn eglur,—"Pwy sydd wr *doeth* a deallus yn eich plith? dangosed trwy *ymarweddiad da*, ei *weithredoedd* mewn *mwyneidd-dra* doethineb." Nid galw eu cyd-ddynion yn dwyllwyr, yn gau-brophwydi, ac yn sataniaid, &c., heb gynnyg un prawf o hyny, fel pe dywedasai, canys rhai ffol a wna felly. "Eithr od oes genych genfigen chwerw ac ymryson [hyd y nod] yn eich calon, na fyddwch ffrostwyr, a chelwyddog yn erbyn y gwirionedd [fel y rhagwelaf wawdwyr ffol y dyddiau diweddaf yn gwneyd]. Nid yw y *ddoethineb hon* yn disgyn oddiuchod, ond daearol, anianol, cythreulig yw, canys lle y mae cenfigen ac ymryson, yno y mae terfysg a phob gweithred ddrwg." Pa ddoethineb a ddichon fod yno! "Eithr y ddoethineb sydd oddiuchod, yn gyntaf pur ydyw, wedi hyny heddychlawn, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da, diduedd, a diragrith." Wedi dangos cymmaint â hyn am y gwahaniaeth sydd rhwng y ddwy ddoethineb, sef y ddwyfol a'r ddynol, gwelir tarddiad a thueddiad pob un, a'u sugndod tua'n ffynnonell wreiddiol; canys i'r graddau ag y derchafa y ffrwd, yr efelycha ei ffynnonell; felly, i'r graddau y cynnydda plant Duw mewn doethineb yr efelychant eu Tad mewn gallu. Anchwiliadwy ddoethineb Duw a'i dysgodd pa fodd i greu y miloedd dirif o fydoedd, a dyna yw ei hollalluogrwydd i'w rheoleiddio; deall cyfreithiau a lywydda y bywyd elfenawl y mae; oherwydd yr hyn gorchymyna iddynt fyned, dyfod, neu ymgymysgu, fel y myno; ac felly y bu, y mae, ac y bydd. Profir hyn os darllenir Jer. x, 12, 13; Psalm cxxxvi, 5, 6; ac i'r graddau y cyfrana y ddoethineb hon i ereill, yr ufyddha yr elfenau iddynt hwythau, fel y profa Paul i'r neb a gred eu hanes, gwel Heb. xi. Gwyddai Josuah ac ereill hyn yn burion; ac felly y cafodd yr haul a'r lloer ddeall yn fuan, a'r *secret* o bob gallu yw *ffydd*, canys ni ddichon fod ffydd heb *sail* iddi, yr hyn ydyw *doethineb* neu *ddealltwriaeth* o barthed i'r cyfryw bethau; a pha fodd y deallent heb i ryw un eu dysgu. Pwy a allai eu dysgu ond yr hwn a ddeallai, sef Duw? Pa fodd y dysgai efe hwynt ond drwy ddadguddiad? Wel, yma etto, gweler ffolineb gwadwyr dadguddiad, canys ni fynant ddoethineb o'i ffynnonell drwy ei phibellau dwyfol ei hun; a'r canlyniad yw, "nad adnabu y byd trwy ddoethineb mo Dduw," ac ni fynant, oherwydd mai ffolineb (meddant) yw y ffordd i'w adnabod. Felly gwelir fod pawb a wadant ddadguddiadau oddiwrth Dduw heb ei "adnabod" ef; a bod heb adnabod Duw yw bod yn amddifad o fywyd tragwyddol; canys "hyn yw y bywyd tragwyddol, dy adnabod di yr unig wir Dduw." Ond gweddiai Paul yn hollol groes i holl *orthodoxy* y 19eg ganrif, dros yr Ephesiaid; gweddiai "Ar i Dduw ein Harglwydd Iesu Grist, Tad y gogoniant, roddi i chwi ysbryd *doethineb* a DADGUDDIAD, trwy ei ADNABOD EF." Os addefir doethineb Duw tuhwnt i bawb arall (yr hyn ni feiddir wadu ar air ychwaith, debygem), hyny yw addef mai "y rhai a ddeallant fwyaf o'i ddirgelwch ef a'i hefylychant ef agosaf mewn doethineb; ac felly, y rhai a gymdeithasant fwyaf ag ef a ddeallant fwyaf o'i fwriadau. Yma hefyd y gwelir ffolineb doethion y byd hwn yn ymffrostio o'u deallwriaeth am Dduw, dan ymffrostio hefyd mai drwy eu dyeithrwch iddo y cawsant ef allan! Y gwahaniaeth mawr sydd wedi bod, ac yn parhau i fod, rhwng doethineb Duw a doethineb dynion yw fod y

naill yn cael ei dysgu gan y pen-ysgolhaig ei hun, drwy ddadguddiadau, a'r lleill drwy ddynion, y rhai a ddysgwyd gan ddynion ereill, a'r rhai hyny oll yn gwadu yr anghenrheidrwydd am wers uniongyrchol, yn gwawdio, yn casâu, ac yn erlid y rhai a ddysgid felly, gan eu cyhuddo o fod yn ffyliaid, &c. Fel hyn y mae o'r dechreu braidd. Pan gymmeradwyodd Duw offrwm Abel, onid oedd hyny yn ddadguddiad oddiwrth Dduw iddo? Diau y credai Cain y dadguddiadau a gawsai ei dad Adda, ac ni oddefai ychwaneg; ac felly drwy genfigen lladdodd ei frawd o'r herwydd. Noa yntau oedd y doethaf ar y ddaear yn ei ddydd, a'r modd y profodd hyny oedd drwy gael gallu i achub ei hun a'i deulu; cafodd y ddoethineb hòno yn bur o'i ffynnonell, ac etto pwy o'i gydoeswyr a'i coeliai, tebyg y credent yr holl rai a gawsai y rhai gynt, ond ffolineb oedd cael ychwaneg, am nad oedd eu heisiau. Abraham hefyd a ddaeth, gan broffesu y gwyddai rywbeth am Dduw a'i ddirgelion drwy brofion; ond pwy ai coeliai. Beth, ebe y doethion, rhyw grwydryn gwibiog fel hwna feddu doethineb! ac yn dwyn rhyw grefydd newydd i'n plith: am y dadguddiadau a gawsai Adda, Abel, Enoch, a Noa, nid oedd dim ammheuaeth, ond am yr Abraham ddwl yma, yn hòni iddo ef gael dadguddiadau newyddion, ffolineb yw, ebe yr holl ddoethion. Beth! ebe y selog, y dyn yn dweyd ei fod ef wedi gweled Duw yn ngwastadedd Mamre! ei fod wedi gweled angelion, a'r rhai hyny yn bwyta ac yn yfed!! O rhag y fath haerllugrwydd, ac ymaith â'r fath dwyllwr o'n gwlad gyda'i ddadguddiadau.

Sylwer ar Moses hefyd yn dyfod ar ffrwst oddiwrth Dduw ei hun gyda dadguddiadau newydd a rhyfedd, gan ddinystrio eu gelynion â barnau; er hyny doethion yr Aipht a'i gwrthwynebasant ef fwyaf, megys y darfu Cain ag Abel, y *Magi* a'r doethion ag Abraham, oherwydd na allent archwaethu dadguddiadau newydd o'r nef. Addefai offeiriaid yr Aipht a Chanan eirwiredd y rhai cynt yn ol a welsent, etto yr oedd hen fantell y ddunos, sef rhagrith a phenboethni y cynoesoedd, wedi eu gorchuddio, nes y suddasant oll yn y môr, cyn yr addefent wirionedd dadguddiadau eu cydoeswyr. Pa fodd y gallent dderbyn llawer o ddoethineb, ynte? Yr un peth a welir drwy hanes plant Israel; sef, mai po leiaf a henaf y dadguddiadau, mwyaf y cynnyddai doethineb ddynol (ar gost y ddoethineb oddiuchod o anghenrhaid), nes llabyddio pob un braidd a draethai ddadguddiad newydd oherwydd y byddai yn sicr o amlygu ffolineb a thwyll y doethion. Pan y daeth y "cyfiawn" hwnw ei hun oddiwrth Dduw, yr hwn ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau, cafodd holl "ddoethion" y genedl am y prysuraf yn gwyngalchu ac yn urddo beddau y prophwydi a fu, ac yn credu, yn darllen, ac yn esbonio yn ddoeth iawn, y dadguddiadau a gawsent hwy; ac a'r anadl nesaf condemnient yn ddiarbed genadwri Duw atynt o enau ei anwyl Fab, a gwaeddent, ymaith â'r fath ddyn o'r wlad; y mae cythraul ganddo, &c. Yn mlaen etto, credid tystiolaeth yr apostolion am Grist, ac felly y cawsant "ALLU i fod yn feibion i Dduw," sef doethineb pa fodd i fod, ond pwy o'u cydoeswyr a gredai fod yr Apostolion yn cael dadguddiadau, gweledigaethau, &c. Onid am y broffes o hyny y lladdwyd eu holynwyr gan y rhai a broffesant gredu y dadguddiadau a gafodd yr apostolion, ac o hyny hyd heddyw gwae i'r neb a feiddia ddyfod â chenadwri oddiwrth Dduw a dweyd ei fod wedi cael dadguddiad; ystyrir y broffes o hyny yn teilyngu dedfryd twyllwr yn y fan.

Cofus genym ddywedyd o Iesu Grist, "yr ydwyf fi yn dyfod yn enw fy Nhad, ac yr ydych chwi [ddoethion] yn ceisio fy lladd i; arall a ddaw yn ei enw ei hun [neu yn enw rhyw *gollege* neu blaid], hwnw a dderbyniwch chwi." Yr un iaith ac ymddygiad a arfera doethineb yr oes hon yn gywir yn erbyn y "Llyfr Mormon," a dadguddiadau Duw i'w blant: y rhai a broffesant fwyaf o ddoethineb colegawl, pwlpudawl, ac awdurdodawl, y rhai mwyaf selog ar air dros yr hen ddadguddiadau a'r prophwydoliaethau a gafodd y cyn-brophwydi, ac hyd y nod yr apostolion, a ddywedent, "Gwyliwch rhag eich twyllo gan y bobl hyn; haerant eu bod yn cael dadguddiadau, gweledigaethau, &c., fel y caffai y Saint gynt! O! rhag y fath dwyll a haerllngrwydd! (meddant). Ymaith â'r fath dwyllwyr o'r wlad, &c." Pa beth yw hyn ond "cyflawni mesur eu tadau," profi gwirionedd y grefydd a wrthwynebid yn gyffelyb gan y cyfryw yn mhob oes a gwlad, a phrofi yr hyn a ddywedwyd, sef y deuai yn y dyddiau diweddaf watwarwyr, "a chanddynt rith (proffes) duwio deb. ond yn gwadu ei *grym* hi," sef ei gallu, ei doethineb ddwyfol, y doniau ysbrydol, a'r offeiriadaeth, drwy ba rai yr oedd efe yn Grist *gallu* Duw, a *doethineb* Duw, i'r rhai a alwyd; ac felly llefarent ddoethineb Duw mewn dirgelwch, sef y ddoethineb guddiedig, yr hon ebe Paul, "nid adnabu neb o dywysogion y byd hwn; eithr Duw a'i heglurodd i ni trwy yr Ysbryd, canys yr Ysbryd sydd yn chwilio pob peth, ïe, dyfnion bethau Duw." Etto, dywed. "Pethau Duw nid adnabu neb ond Ysbryd Duw." Yma etto gwelir ffolineb y rhai sydd yn ddigon doeth heb eisieu ychwaneg o ddadguddiadau drwy Ysbryd Duw. Pa fodd y derbynir dim gan Ysbryd Duw heb fod hyny yn ddadguddiad? A gwelir y ffolineb o broffesu un math o ddadguddiad. a gwadu math arall. megys y doniau. neu weinidogaeth angylaidd. O wendid doethineb ddynol! Pa sail sydd ganddynt i'w doethineb? Dim gwell. yn ol eu haddefiad, na *hanes* am ddoethineb ereill; ac ni ddichon fod y *gallu* yn yr *hanes*. ond yn y *mwynhad* o hono, i'r graddau ag y dysga Ysbryd y ddoethineb y neb a'i meddo. Trwy hwn y llefarent "ymadrodd doethineb;" nid â'r geiriau a ddysgir gan ddoethineb ddynol. ond a ddysgir gan yr Ysbryd Glân. Pan yr oedd geiriau y naill fel efydd yn seinio, neu symbal yn tincian, yr oedd geiriau y lleill yn allu a nerth Duw, a hyny oherwydd eu cyssylltiad â Duw.

Dirgelwch a gallu mawr y ddoethineb oddiuchod a amlygir drwy eu hymarweddiadau da. eu dyoddef, a'u bod yn mhob oes a gwlad, o Adda hyd 1847, yn derbyn doethineb o'i ffynnonell, a gwybodaeth am bethau mynedol, presennol a dyfodol, trwy ddoniau yr *Ysbryd, doethineb, a dadguddiad*, fel Paul, a thrwy y Dyddanydd a addawodd Iesu Grist, yr hwn ni ddichon neb, hyd y nod o *dywysogion* y byd hwn, ei dderbyn. na'i amgyffred, ond ei farnu yn ffolineb; ond i gynnifer ag a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt *allu* i fod yn feibion i Dduw; ac os plant, etifeddion o'r unrhyw *ddoethineb*, a'r *nerth* hwnw a gauodd safnau llewod, a ddiffoddodd angerdd y tân: ereill a grwydrasant mewn crwyn defaid, a yrasant i ffoi fyddinoedd eu gelynion, ac oeddynt yn galetach nâ min y cleddyf, cryfach nag ysbrydion y tywyllwch, na tharianau breninoedd. ïe. nâ phob peth a'u gwrthwynebai. Trwy yr hwn ddefnydd o'r ddoethineb hon y galluogwyd hwynt, nid yn unig

i aberthu eu bywydau yn llawen, i brofi daioni air Duw, a nerthoedd y byd a ddaw, i ddyfod i fynydd Seion, dinas y Duw byw, at fyrddiwn o angylion, i eglwys y cyntafanedig, at Dduw Barnwr pawb, ac at Iesu, Cyfryngwr y Testament Newydd, a gwaed y taenelliad, yr hwn sy'n llefaru pethau gwell nâ'r eiddo Abel; ond y galluogir hwy hefyd i dderbyn y mabwysiad, sef prynedigaeth y corff, ac i gael mynediad i mewn i dragwyddol deyrnas ein Harglwydd Iesu Grist; ïe, yn mhellach etto, cynnydda eu gallu yn gyferbyniol i gynnydd eu doethineb, nes y delont oll yn un, wedi drachtio o'r ffynnonell nes nofio yn dragywydd yn nghanol y môr o ddoethineb a gallu fel y Tad a'r Mab, yr hyn a brofir gan Grist ei hun: "Y gweithredoedd yr wyf fi yn eu gwneuthur, yr hwn sy'n credu ynof fi, yntau hefyd a'u gwna; a mwy na'r rhai hyn;" ïe, mwy na chreu a pherffeithio y ddaearen fach hon. *Yn ol eu doethineb y byddai eu gallu.*

---

## GALLU MEDDYDIOL DYN.

Mae y meddwl dynol yn gyfryw ag y gellir ei gynnyddu yn raddol, a'i eangu nes amgylchu nid yn unig y glôb a'i chyflawnder, ond gellir ei saethu ar eiliad hyd entrych yr wybr. Crwydra yn mhlith y bydoedd estronol, y planedau, a'u lleuadau dirif, fel y wenol drwy yr awel deneu. Dug y pegynau rhewog i'r un fan, yr haul o'i chylch ar gledr ei law, a'r lleuad dan ei draed; a threiddia drwy cigion y gwagle fel seren wibiog, ac yn ol ar ei orsedd cyn braidd y gwyddys ei golli. Dirnada drueni truenusion yr holl druenusfyd; yna neidia drwy'r gagendor i'r entrych fry, a than guddlen y caddug syllia yn siriol i'r oesoedd a ddel. Gwena yn nghwmni engyl dirif, a syllia ar drueni ei gydoeswyr, a'r fynyd nesaf gwelir ef yn manwl chwilio i sylwedd y chaos afluniaidd cyn symud o'r hunan-ymsymudydd ar wyneb y gwagle; ïe, cyn deffro o neb ond y gwyliedydd yn y cynghor boreu; a thrachefn ar eiliad wele ef ar farch gwyn, a choron aur ar ei ben, ar fôr tawel megys o wydr, a thorf aneirif gydag ef mewn gogoniant, ïe, wedi gosod y bêl droed hon yn mhlith ei chwiorydd a grystalisiwyd i redeg eu cylchoedd yn berffaith oddiamgylch eu *centre of attraction*, sef y "*Kolob*" fawr ei hun! Ie, pa beth ni ddichon wneyd! Dyn heb ei adnabod ei hun yw yr hwn a ddywed na ddichon ei feddwl gynnwys y cyfryw beth. O ddyn, y mae dy feddwl yn hollalluog i'r graddau ag y rhoddi ef mewn gweithrediad teg. Unwaith yn rhydd o lyffetheiriau haiarnaidd gau-draddodiad, a chael dyrchafu o ludw cyfeiliornadau y wlad, i awyr iach i anadlu, fel *Pheonix* gynt; i gymdeithasu â bodau deallus, gall ymestyn yn mlaen, ac etto yn mlaen o wirionedd i wirionedd, a chrafangu y gwagle fel gwawl y boreu. Dealla ddirgeledigaethau mynedol, a datgloa y drysau tragwyddol i edrych drwy niwl y miloedd dyfodol, nes y portreiada holl faith greadwriaeth ei Dad ger ei fron, ac a ddrachtia o drysorau anchwiliadwy doethineb gyda thragwyddol gynnydd.

Fel y sycheda yr hydd am afonydd dyfroedd, felly y mae meddwl y doeth am ddoethineb; a pho fwyaf a gaiff, fel y bedd am ei ysglyf-

aeth, yntau a waedda yn uwch, uwch, " Moes, moes," yn dragywydd, wedi iddo gael gafael ar allwedd doethineb a deall, sef Ysbryd y brophwydoliaeth, Ysbryd dadguddiad, Ysbryd y goleuni, sef Ysbryd Duw.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

*Yn awr wedi dod allan o'r Wasg, gan* CAPT. JONES, *pris Swllt, a gellir ei gael gyda'r Prophwyd yn ddigost,* HANES SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF. *o'u Sefydliad yn* 1823, *hyd alltudiaeth Tri Chan Mil o o honynt o'r America yn y flwyddyn* 1846.

CYWIRDEB hanesyddol yw prif arwyddair yr awdwr yn y llyfr hwn, ac nid yw wedi esgeuluso na chost na thrafferth, at y manteision a gafodd o fod yn llygad-dyst o lawer o'r golygfeydd a ddesgrifia, i chwilio am dystiolaethau credadwy, megys rhai a roddwyd ar lw mewn llysoedd, ac a gyhoeddwyd i'r byd gan mwyaf, ac sydd yn sefyll yn anwrthwynebol hyd heddyw, a pha rai a fedda yr awdwr yn ofalus yn ei lyfrgell, er boddlonrwydd i'r ammheuydd a ymhola am eu gweled.

Ni wyddai yr awdwr am un ffordd well i ddidwyllo ei gydgenedl nâ thrwy gyflwyno iddynt yr hanes hwn am y grefydd ddwyfol a gamddarlunir mor fawr drwy ein gwlad. Gwell i'r darllenydd sierhau copi yn fuan, canys drwy gamsynied yr argraffydd, nid argraffwyd mo'r hanner a ddysgwyliasem. Dyfynwn y ddau ddernyn a ganlyn i'r *Prophwyd,* fel y deallo y darllenydd beth o natur ac ansawdd y llyfr:

## CYMMERIAD JOSEPH SMITH.

MAE cannoedd o filoedd yn mhedwar cwr y byd a wyddant mai Joseph Smith oedd y dyn duwiolaf ar wyneb daear, ïe, a wyddant hyn, meddwn, tuhwnt i ddadl, heblaw y miliynau dirif a raid iddynt addef hyn etto; ac yn eofn y beiddiwn neb yn Nghymru, nac yn y byd, i brofi i'r gwrthwyneb. Meddylied y rhai anadnabyddus o hono ef a fynant am ein tystiolaeth, nid yw hyny o bwys i ni; yr ydym yn atebol i Dduw a dynion am yr hyn a ddywedwn yn unig, ac ni ddywedwn ond yr hyn a wyddom.

Profir hyn hefyd drwy y gwaith mawr, a'r darpariadau rhyfeddol a wnaeth tuag at adferu crefydd bur, a chasglu gweddillion Israel yn ol cyfammod Duw ag Abraham ac ereill. Gofynwn yn mha wlad neu oes y gwnaed y fath chwyldroad yn y byd crefyddol? yr hwyluswyd achos Seion, ac y gorlifwyd y byd â'r fath oleuni nefol, ag a wnaeth Joseph Smith mewn llai nag ugain mlynedd, er pan ymddangosodd yr angel gyntaf iddo? Ie, cofier mai bachgenyn diddysg, triniwr anifeiliaid yn y goedwig, oedd efe, braidd yn ddwy-ar-bymtheg oed,—fel yr helyg ar lan yr afon yn gwrthsefyll cynddaredd tònau y ffrwd lifeiriol, y gwynebodd ac y concrodd y bachgenyn hwn holl ddoethineb ddynol, poblogrwydd, cyfoethogrwydd, a gwargaledrwydd, cenedl drofaus a godinebus, ïe, ac yntau yn amddifad o un medrusrwydd, profiad, cyfoeth, na dylanwad o'i blaid, na dim ond gallu dwyfol, gwirioneddau anwrthwynebol, ffeithiau hunan-brofiadol, a dadguddiadau dwyfol yn cynnwys cymmaint o oleuni, ac o Ysbryd Duw ynddynt, fel na

ellid eu gwrthsefyll o eneuau ei weision; ond pa rai ydynt yn saethu eu pelydrau o oleuni nefol a chariad dwyfol, i bob calon onest a'u derbyniant, ac yn adlewyrchu fel pelydrau tanbeidiawl yr haulwen oddiar ddrych gogoneddus, ac yn bywhau, addurno, a gogoneddu, y sawl a'u meddo.

Er gwaethaf holl elynion y gwirionedd i dduo cymmeriad, ac i ystaenio coffadwriaeth, Mr. Smith, y mae colofnau ei hanesyddiaeth mor ganaid â'r eira gwyn oddiwrthynt oll; ac er addurno y darlun o'i fywyd a'i farwolaeth yn odidocach etto, cydiodd yn eofn a dewr â'i law ei hun yn y brwsh, a phaentiodd *forder* o'i amgylch o liw ysgarlad, sef *â'i waed ei hun!* Teilwng o'r fath addurniadau yn unig yw yr hwn a wnaeth Duw yn gof-adail i'r bedwaredd ganrif ar bymtheg, o berffeithiad ei nerth ef drwy waeledd offeryn fel Joseph Smith! Daeth allan o ganol tua hanner cant o ffwrneisiau a boethid iddo gan erlidwyr, o flaen brawdlysoedd, ar gyhuddiadau o ryw drosedd neu gilydd, yn saith boethach nag i ereill; ac o honynt oll gwaredodd Duw ef, fel y tri llanc hyny, heb ddeifio blewyn o wallt ei ben (sef ei gymmeriad), nac arogl tân ar ei wisg. Esgus wael fydd gan ei elynion pan safant o flaen Arglwydd Dduw Joseph Smith, a'u Barnwr hwythau, dros dywallt gwaed gwirion. Y pryd hyny bydd yn rhaid iddynt addef y gwir ar gyhoedd, sef, mai o genfigen at ei dduwioldeb, ac o eiddigedd at ei fawredd a'i ogoniant anghydmharol, y lladdasant ef. Diau mai ofni cyfiawnder diweniaith Joseph Smith, a dychryn rhag eu haeddiant eu hunain, yn mhlith pethau ereill, a'u cynhyrfodd i'w ferthyru.

Oherwydd ei larieidd-dra a'i ddiddichelldra yn barnu pawb mor onest ag ef, ymlithrodd rhai dynion dichellgar a hunanol i blith cyfeillion Joseph Smith, pa rai, yn ei gyfyngdra mwyaf, a ymddygent ato fel y sarff hòno a gafodd rhyw ddyn ar y ffordd yn mron a thrigo gan oerni, ac efe a'i cynhesodd yn ei fynwes nes iddi fywiogi, a'r modd yr ad-dalodd ei diriondeb oedd drwy ei frathu hyd ei galon. Felly hwythau ni allent sefyll yn mhlith y gwenith o flaen ei wyntyll rymus ef, pan chwythai droseddwyr o'i wyddfod fel us o flaen corwynt rhuthrol. Diau ddarfod i gau frodyr, neu yn hytrach fe'u hadnabyddir wrth eu henwau priodol, sef "gwrthgilwyr," ddylanwadu yn fawr ar ereill i'w amddifadu o'i fywyd. Hwy a welsent ei fawredd, a hwy, fel Dalilah gyda Samson, a wyddent am ei wendidau hefyd. Etto mae eu bradugoliaeth arno yn warth i'r dalaeth a'r genedl, ac wedi eu handwyo hwythau yn dragwyddol. Ni allant ei ragdyfu; ni allant ei ragfyw; ac ni allant ei ddadwneyd, ei olchi ymaith, na'i *ragfarw* ychwaith. Y mae y ddedfryd wedi ei hargraffu â phin aur ar galonau miliynau yn eu herbyn, o'r hwn a gydymffurfiodd hyd yr hwn a saethodd y peleni marwol yn ngharchar Carthage; ac yn mhob mynwes lle y triga gonestrwydd, dynoliaeth, cariad at fywyd, neu ryddid a hapusrwydd, oddiyno hefyd yr anadla "anathemau" cyfiawn yn erbyn "cigyddfa Carthage." Dialedd a digofaint Duw cyfiawn a dynion da, a ganlyna gamrau yr holl euogion a'u cefnogwyr gyda dychrynfeydd, fel y desgrifia Milton byrth mynedfan y Jehenna ei hun,—

"——— *grating harsh thunder.*"

Dywedodd ein Harglwydd, "Anghenrhaid yw dyfod rhwystrau; ond gwae y rhai hyny trwy ba rai y deuant!" Yn ol y rheol y proffesa yr holl fyd Cristionogol yn gystal â ninnau eu bod yn ymlwybro sef y gyfrol santaidd, gwelir ei fod yn unol ag arferiad grasol ein Duw i anfon prophwydi i'r byd yn mhob oes ag yr oedd ganddo waith neillduol i'w wneyd; ac yn eglurach etto dywed yn bendant drwy ei was "na wna yr Arglwydd Dduw *ddim* a'r na ddangosa ei gyfrinach i'w weision y *prophwydi.*" Dengys yr un drych cywir hefyd mai y cyffelyb driniaeth greulon a gawsant oll, o Abel hyd y diweddaf y sonia, ïe, hyd y nod ei anwyl Fab ei hun, i'r driniaeth greulon a gafodd eu brodyr olaf hyn yn Carthage, ac ar hyd eu hoes. Ac nid llai rhyfedd na gwir ychwaith, mai y genedl a broffesai fwyaf o sel heb wybodaeth, o rith duwioldeb dan wadu ei grym hi, ac o fwyaf o ddoethineb colegawl, pylpudawl a dynol ddefosiynau yn lle dwyfol ordinhadau, oeddynt, ac ydynt uchaf eu llais, mwyaf eu hymroad, ac awchusaf eu gwaewffyn a'u cleddyfau i dywallt gwaed y dwyfol anfonedigion [h. y. y genedl hono]. Dyma paham y bydd y cenedloedd paganaidd yn eiddo yr Arglwydd yn nydd ei nerth, sef oherwydd na byddant hwy yn euog o dywallt gwaed prophwydi fel "*yr oes oleu hon,*" a'r "*oes oleu*" arall. Nid yw eu "cydwybodolrwydd" yn gwneyd hyn dros Dduw fel y dychymmygant, ond yn tynhau eu rhwymau, ac yn mwyhau eu dedfryd, canys dylasent chwilio i mewn i'r peth cyn ei gollfarnu, na'i wrthwynebu! Ond at yr hanes.

Yr oedd Joseph Smith wedi rhagweled fod ei ddiwedd yn agosâu, ac mewn darpariaeth i hyn yr oedd wedi bod am tua phedwar mis braidd yn feunyddiol (cyn dechreu, na bod arwyddion, o'r terfysg olaf) yn dysgu i'r apostolion, yn eu cynghorau, am ddirgelion teyrnas Dduw, a'r dull a'r modd i gario y gwaith yn mlaen wedi ei ymadawiad ef; ac wedi gorphen rhoddi iddynt eu cynnysgaethiad, dywedodd yn eglur, "Ar eich ysgwyddau chwi y gorphwysa teyrnas Dduw yn awr; ymwrolwch i'w lledaenu dros y byd; ni waeth beth a ddaw o honof fi mwyach, na pha mor gynted y caf fi fyned i orphwys, &c." Hysbysodd ar gyhoedd tua 15,000 o bobl mor eglur nes y deallodd pawb ei fod ar eu gadael ar fyrder. Dywedodd na chaffai fyw i weled y deml wedi ei chwblhau, ond ei fod wedi cyflwyno yr allweddau anghenrheidiol at roi y cynnysgaethiad, a phob peth arall i'r apostolion. Ychydig wythnosau cyn dechreu y terfysg hwn, aeth yr apostolion oll ond dau, sef Willard Richards, a John Taylor, yn ol ei gynghor ef, i bregethu drwy y taleithiau dwyreiniol, "canys," ebe efe, "nid yw eich bywydau yn ddiogel yn Nauvoo, nac yn y cylchoedd hyn;" ac yno yr oeddynt pan laddwyd ef. Dychwelasant i Nauvoo cyn gynted ag y cawsant wybodaeth; ac ar yr 8fed dydd o fis Awst, cynnaliwyd cymmanfa yn Nauvoo, i reoleiddio pethau am yr amser dyfodol, ac i ddwyn i weithrediad y mesurau a drefnwyd trwy Joseph Smith; ond yn benaf er i'r apostolion sefyll yn eu lle priodol yn ben ar yr eglwys ar y ddaear, yn absenoldeb ei blaenoriaid blaenorol. Yr oedd yno o ddeuddeg i bymtheg mil o Saint wedi ymgasglu, a'u rheoleiddio yn ddosbarthiadau yn ol eu swyddau. Anerchodd Brigham Young, Orson Hyde, P. P. Pratt, ac ereill, y dyrfa yn wresog ac effeithiol, nes y canfyddai pawb fod mantell y prophwyd mewn gwirionedd wedi

disgyn ar yr apostolion; a'r holl dyrfa yn ddïeithriad a arwyddasant eu cymmeradwyaeth o'r apostolion yn arweinyddion i'r eglwys trwy dderchafiad deheulaw.

## ANERCHIAD Y LLYWYDD FORD AT BOBL TALAETH ILLINOIS.

"DEWISAF roi desgrifiad byr a gwirioneddol o'r amgylchiad cywilyddus a gymmerodd le yn Carthage, o barthed i'r Smith's, mor belled ag y cyrhaedda fy ngwybodaeth. Mae y Smith's, Joseph a Hyrum, wedi eu llofruddio yn y carchar; nid ydwyf yn deall gan bwy, ond mynaf wybod. [Ni allai fod wedi anghofio enwau y rhai a fygythiasant hyny yn ei wyneb!] Yr oeddwn i wedi ymrwymo fy hun y caent amddiffyniad, ac ar sail hyny rhoddasant eu hunain i fyny yn garcharorion. Rhoddodd y Mormoniaid yr holl arfau i fyny oedd yn eu meddiant, ac ymddarostyngodd y Nauvoo *Legion* i lywyddiaeth Cad. Singleton o Swydd Brown, yn foddlongar ac ufydd. A myfi a'i hanfonaswn yno i'r dyben hyny. Gofynodd y terfysgwyr hyn oll, er profi fod y Mormoniaid yn heddychlon; ond ymddengys fod pob ufydd-dod ac ymostyngiad o eiddo y Mormoniaid wedi bod yn aneffeithiol i'w dwyn hwy [y terfysgwyr] i heddwch. Nid myfi yn unig a addawodd ddiogelwch i'r Smith's, ond fy swyddogion a'm milwyr a sicrhasant i mi y cynnorthwyent fi i'w hamddiffyn.' [Gwaeth fyth ynte oedd eu trosedd a'u brad, a dylasai yntau wybod gwell oddiwrth eu "*honor*" blaenorol nag ymddiried bywydau dynion i'w dwylaw gwaedlyd.] Os gwnaed y weithred gan y rhai hyn [atebwn mai do, a pha fodd na wyddai?], ychwanegasant frad at fwrdrad, a gwnaethant yr oll a allent i anmharchu y dalaeth, ac i ystaenio y '*public honor.*' [!! "*Public honor*" pwy, tybied? Pa le yr oedd gynt yn cuddio? Ai yn mynwesau llofruddwyr?] Ar foreu y dydd y cyflawnwyd y weithred, meddyliasem am fyned â'r fyddin oll i Nauvoo: ond deallais yn amlwg na foddlonid y fyddin â llai na hollol ddinystrio y ddinas [ac etto yn gadael y carcharorion yn eu dwylaw wedi deall cymmaint â hyny!]; ac wedi unwaith gyrhaedd yno na byddai esgusion yn eisieu i ddechreu cyflafan. Yr oedd y Mormoniaid eisoes wedi ufyddhau i bob peth a ofynasid ganddynt, ac wedi ymddarostwng i fwy o lawer nag a ddylesid geisio ganddynt. Buasai ymosodiad o'n heiddom ni arnynt yn y tymmor hwn, pan y mae y cynauaf ar ein dwylaw, mor anfanteisiol ag a fuasai warthus [ac felly, wedi lladd y ddau oreu, ymddengys nad oedd deilwng i'r miloedd ereill ddiolch iddo ef am eu bywydau, ond i'r cynauaf ag oedd yn eu galw!]; ac oherwydd hyn [sef y 'cynauaf,' ac nid oherwydd cyfiawnder, ac awydd i rwystro tywallt ychwaneg o waed gwirion], penderfynasom mewn cynghor [o fradwyr] i wasgaru y fyddin [fel y gallent fod yn rhyddach, a mwy anghyfrifol am y mwrdrad], oddieithr tair catrawd; dwy o ba rai a adawwyd i wylied y carchar [ond tua 70 oll], a chyda'r llall aethym i Nauvoo i areithio i'r bobl hyny [do, druan, a gwaeth cysurwr nag eiddo Job oedd efe hefyd], ac i hysbysu iddynt beth a allent ddysgwyl, os yn fwriadol yr achosent derfysg [do, bygythiodd y byddai eu tai yn ulw, ac y caffai eu gwragedd a'u plant losgi yn y coelcerth, ac na allai yntau eu hamddiffyn!! ond ni fynai, neu ni wnai, a feddyliai]. Meddyliaf ddarfod

i mi gyflawni y ddyledswydd hon yn llym a chyflawn [ebe efe; do, mewn modd na ddarfu i neb arall er dyddiau Nero, ond ei bartner, sef Clark o Missouri]; a phan wedi dychwelyd oddeutu 3 milltir tua Carthage, cyfarfyddais â chenadydd oddiyno, yr hwn a'm hysbysodd o'r hyn a gymmerasai le yno. Prysurais i'r fan. Dywedir i mi ddarfod i'r *guards* wneyd eu dyledswydd [ond profwyd iddo wed'yn fod deallwriaeth eglur rhyngddynt â'u gilydd, a bod y *guards* wedi ysgrifenu llythyr at y terfysgwyr ereill, yn dweyd yr amser goreu i danio, ac wrth gwrs y gwaghaent hwythau eu drylliau i'r awyr uwch eu penau! Cafwyd gafael ar y llythyr wed'yn]; ond fod mwyrif wedi eu gorthrechu [os felly, pa fodd na chlwyfwyd hyd y nod un o'r naill ochr neu y llall ?]. Diangasai llawer o deuluoedd o Carthage, ac ereill yn ymbarotoi i'w dilyn; a chan yr ystyriwn fod perygl i'r Mormoniaid ymddial, cefnogais hyn. Cynnygiodd y Cad. Demming aros yma gyda nifer fach o filwyr, i amddiffyn eiddo rhag difrod hyd a allai. Penderfynais fyned i Quincy, a darparu byddin ddigonol i ddarostwng terfysg. Yr wyf yn gobeithio na wna y Mormoniaid ddechreu, nac achosi un terfysg. Ond efallai y caf fy siomi yn hyn [pe cawsai, buasai y tro cyntaf iddynt ei siomi]. Ofnaf na foddlonir yr wrthblaid. Dichon yr ail ddechreuant eu creulonderau. Yr ydwyf yn benderfynol i gadw heddwch hyd y gallaf, boed y canlyniadau a fyddont. Meddyliaf fod genyf ddigon o esgus i wysio byddin ynghyd, ac i fod yn barod at fy ngalwad ar y rhybudd lleiaf. Drwy ymsefydlu yn Quincy, galluogir fi i gael pob newyddion yn gyflymach.

"THOMAS FORD,
"*Governor, and Commander-in-Chief.*"

---

## PA FODD I'R GWR WNEYD Y WRAIG YN DDA, BOED HI A FYDDO?

LLAWER a feïir ar y gwragedd, druain, eu bod yn ddrwg eu tymherau, yn anghariadus, neu yn anufydd, pan, o'r ochr arall, pe gwelai y gwr mor afresymol yw iddo ddysgwyl ufydd-dod perffaith gan y wraig yn ei sefyllfa anmherffaith bresennol, nac hyd nes y dysgo efe ei hun dalu ufydd-dod perffaith i'w ben ef, sef Crist, darfyddai hanner y cintach. Dylai efe fel hithau ddysgu ufyddhau cyn y bydd yn addas i lywodraethu. Wedi dysgu y wers hon, sef ufydd-dod, ni chaiff ei wraig le i ddweyd wed'yn ei fod yn ormeswr, canys efe a'i cara hi fel y carodd Crist yr eglwys, ac ag ysbryd dengar a chariadus efe a fywioga deimladau gwresocaf ei natur tuag ato, ac a'i gorchfyga â thiriondeb nes y gofala hithau rhag ei dristâu. Oddiar yr egwyddor hon o gariad a fagodd efe ynddi hi tuag ato ei hun y tardda pob ufydd-dod a rhinwedd a ddysgwylia dyn rhesymol gan wraig. Bôd deallus a chymdeithasgar yw gwraig, yr hon a drefnwyd i fod yn ymgeledd gymhwys iddo; nid i'w lywodraethu ef, nac i gael ei dirmygu ganddo ef, ond i'w gysuro yn ei ofid, i weini iddo yn ei anghen, ac i'w garu a'i barchu fel ei phen. Ni ddichon y wraig ddedwyddoli y gwr ond i'r graddau ag y cyrhaedda ei dedwyddwch ei hun, ac ni ddichon un mor deimladwy, a chalon mor dyner, a'i golygon mor dreiddgar i serchiad-

au ei gwr, ag yw yr eiddo gwraig rinweddol, fod yn hapus pan y teimla ei hun mewn caethiwed dan ormes gwr annheilwng o honi.

Rhaid i bawb deimlo graddau o ryddid cyn y byddant yn hapus. Y mae iau Crist yn esmwyth, a'i faich yn ysgafn. Yr achos o hyn yw, oherwydd ei fod ef yn llywodraethu trwy gariad er ein lles, heb ofyn ufydd-dod genym am ddim ond a'n dedwyddola. Mewn gair, ufyddha Iesu i'w Dad o achos ei fod yn ei garu; ufyddha y gwr i Iesu oherwydd ei fod yn ei garu; a dylai pob gwraig garu ei gwr nes ufyddhau iddo gyda phleser a pharodrwydd. Cariad a faga gariad; er enghraifft, carodd Crist ei Dad oherwydd i'w Dad yn gyntaf ei garu ef; yr ydym ni yn ei garu ef am iddo ef yn gyntaf ein caru ni; felly y dylai y gwr, trwy ei diriondeb, ei gydymdeimlad, ei foneddigeiddrwydd, a'i ddaioni, sugno serchiadau gwresocaf ei wraig i'r unrhyw ddelw ac ysbryd; ac yna nid ystyriai yn un caethiwed i'w wasanaethu yn siriol yn mhob dull a allo. Wedi y creo ynddi hi ymddiried ynddo ef fel ei phen doeth a dyngarol, hi a'i cara ac a orphwys arno, fel y gwna yntau ar ei ben, sef Crist, yn foddlongar.

Amlwg yw, pe bai yr egwyddor hon, sef sugndod cariad, yn elfen lywodraethol, y dylifai deallwriaeth, doethineb, daioni, cariad, llawenydd, iawn drefn, ac ufydd-dod perffaith, ïe, bywyd mewn byd dedwydd; o'r ffynnonell fywydol rhedai y rhinwedd ddedwyddol drwy bob canghen o bob teulu dynol, nes y ceffid pob *link* yn y *chain* fawr, o'r orsedd uchaf yn y nefoedd hyd y gwaelaf o deulu cariad ar y ddaear, o'u bodd wedi eu cylymu yn un. Dyma deulu dedwydd.

Pa wr mor ddideimlad â'r hwn na chydymdeimla yn oddefus gyda gwendidau a ffaeleddau cyfaill ei fynwes! Dylai pob dyn gofio ei fod yn cymmeryd ei wraig yn y dechreu "er gwell ac er gwaeth." Dyna addefiad nad yw hi yn anffaeledig, a phaham y siomir y gwr gymmaint pan gaiff fod hyny yn wir? Chwi wyr, na fyddwch feistriaid lawer, neu yn hytrach, meistrolwch yn y ffordd hon faint a fynoch, sef trwy gariad, a goreu po fwyaf.

Llawer o gymenu a beio sydd ar yr hen fam Efa, druan, oherwydd iddi droseddu yn gyntaf, ac i Adda ei dilyn. Ond o'm rhan i ni allaf feio cymmaint ar yr hen fam, canys yr wyf yn ystyried mai hi yw y lleiaf ei bai o'r holl fenywod o'i hoedran a fu ar ei hol. Ac am yr hen dad Adda, ni bu llawer gwell nag yntau. Ciniawodd gyda'i wraig mewn dull a brawf ei barch i'w harchwaeth hi yn ei darpariadau teuluaidd. Pan y cafwyd mai o ffrwyth y pren gwaharddedig y bwytasent, efe a gyd-ddygodd yn ddynol ac amyneddgar â'i throsedd hithau heb na chintach na digofaint ati. Nid oedd y naill na'r llall hanner mor feius ag y mae y goreu o honom ni yn yr oes hon. Buont hwy fyw ynghyd, cyd-bechasant, cyd-alltudiwyd hwynt, a darfu iddynt gydfarw, a hwy a gyd-gyfodant, ac a gyd-deyrnasant etto. Diau y bendiga yr "Hen Ddihenydd" penwyn Dduw bythol, oherwydd na ddigiodd neu na wrthododd ei wraig oherwydd iddo gael ynddi fai bach.

Terfynwn y tro hwn trwy gynnyg *ffordd anffaeledig i rwystro ffraeo!* Cyfammoder pan yn siriol o bob ochr fod i'r hwn a ymollyngo i bang gael amser i oeri o hono cyn yr atebo y llall air yn ol. Felly gwirir geiriau Solomon, sef, mai "ateb arafaidd a ddettry lid, ond gair garw a gyffry gynhen." *Amynedd, amynedd,* yn anad pob peth ceisiwch

*amynedd.* Meddyliwch ddwywaith cyn dweyd gair cyffrous unwaith a byddwch yn hapus.

---

## AMERICA A MEXICO.

PARHA y rhai hyn i frwydro yn waedlyd, yn ol yr hanesion a gawn. Dywed y *New York Herald* fod yr Americaniaid wedi ennill dennaw o frwydrau nodedig yn y flwyddyn ddiweddaf, ac yn mhob un collwyd llawer o fywydau gwerthfawr. Sonir fod Mr. Bankhead, cenadydd Prydain yno, yn ceisio gwneyd ammodau heddwch rhwng y pleidiau. Llwyddiant iddo bellach.

---

## TREFEDIGAETH FORMONAIDD YN CALIFORNIA.

HYSBYSA y *St. Louis Union*, o'r pedwerydd dydd o Fai, fod yn ganlynol i ymfudiad y *Mormon Battalion* i California, newyddiadur yn cael ei gyhoeddi ganddynt yn *Yerba Buena*, yn yr hwn yr eglurir egwyddorion Saint y Dyddiau Diweddaf. Mae llwyddiant y fyddin hon yn dangos rhyw wroldeb, ymroad, a medrusrwydd mawr, yn eu harweinydd a'u llywydd, i allu gorchfygu rhwystrau mor fawr â'r rhai hyny ag oeddynt ar eu ffordd. Mae y pellder o Santa Fe dros 1100 o filltiroedd, a hyny dros fynyddoedd creiglyd, a thrwy ddiffeithwch dyrys, lle nad allent gael dwfr nac ymborth i ddyn nac anifail. Hefyd, y mwyrif o'r fyddin oeddynt wyr traed.

Mae prif wersyll y Mormoniaid a alltudiwyd yn agos i Council Bluffs. Dyoddefasant lawer o eisieu ymborth a chysuron yn ddiau yn y gauaf caled a aeth heibio, ond dywenydd mawr fydd ganddynt glywed am diriad eu brodyr yn ddiogel yn California ac fe galonoga hyn y gweddill i'w dilyn.

Difyrus yw newyddion fel yr uchod, a da genym glywed fod y cyhoedd yn cydnabod dewrder a medrusrwydd digyffelyb y Saint, pa rai, er can yr anfanteision mwyaf, ydynt wedi teithio yn wyrthiol braidd o'r naill ben i'r pen arall o'r cyfandir, dros fynyddoedd geirwon, yn mysg bwystfilod ac anwariaid peryglus, drwy neu dros afonydd heb bontydd arnynt, ac wedi sefydlu trefedigaeth lwyddiannus drwy'r cyfan, a gwell etto genym glywed eu bod yn ystyried Mormoniaeth nid yn unig yn werth ei chario gyda hwynt drwy'r cwbl, ond ei chyhoeddi i'r byd newydd hwnw mor fuan, ac hefyd mor selog. Pan y mae newyn, rhyfeloedd, a marwolaeth, mewn llawer dull yn ymwledda ar ddynion, diau fod yr Arglwydd yn gofalu am ei bobl gyfammodol, yn eu diogelu rhag eu gelynion, yn eu porthi â "soflieir," ac yn agoryd ei law i'w diwallu yn wyrthiol fel yn y dyddiau gynt. Dymunwn iddo barhau felly nes y byddont hwy ag sydd ar y ffordd, a'i holl blant o'r holl fyd, wedi cyrhaedd pen eu taith.

---

## SAINT YN Y TALEITHIAU.

HYSBYSA yr apostol Orson Hyde ni, o Gaerefrog Newydd, lle y cyrhaeddodd ar y 6fed o Ebrill, fod un gwersyll lliosog o Saint ar gychwyn oddiyno ar ol eu brodyr tua California y dydd Mawrth canlynol, a bod lluoedd ereill drwy'r taleithiau dwyreiniol yn darparu i'w dilyn. Meddylia pe bai tua chant o bregethwyr selog a ffyddlon yn myned drwy'r wlad hono yn awr, fod y gwrthweithiad mor fawr, prophwydoliaethau y Saint yn cael eu cyflawni mor amlwg, a phob arwyddion yr amserau wedi achosi i bobl agoryd eu llygaid, fel y cofleidiai miloedd yr efengyl hon yn fuan. Yr oedd y newyddion o'r gwersyll yn dda, a phawb yn iach.

## YR APOSTOLION PRATT A TAYLOR.

GYRHAEDDODD y ddau frawd hyn New Orleans, Mawrth y 19fed, wedi mordaith-mwy cysurus nag a gawsent oll. Ni buont ond 36 o ddyddiau o Loegr yno; ac ni bu dim gwynt croes, nac achos i gymmeryd un hwyl i mewn ond unwaith, am ychydig oriau. Aethant heibio i bob llongau a welsent, a rhai a gychwynasent o ddwy i dair wythnos o'u blaen a gyrhaeddasant yno ar eu hol hwy. Ni feddwn le i'r llythyr hirfaith, cysurus, ac addysgiadol hwn yn ein colofnau bychain, etto rhoddwn ddyfyniad byr er boddio ein darllenwyr. Wedi rhoddi ei esgusawd pam na chyhoeddodd ei *farewell* â'r Saint, sef oherwydd ei frys mawr wrth gychwyn, ac ymhelaethu ar ddyben a chanlyniadau eu cenadiaeth drwy Frydain, y pleser a gafodd, a'r gobaith a fedda, &c., dywed mewn un fan (yr hyn a ddengys i'r Cymry nad yw efe wedi eu hanghofio hwythau),—"Bu yr henuriad P. P. Pratt a minnau yn cyd-deithio i ymweled â'r eglwysi gan mwyaf drwy Frydain oll, a gadawsom hwynt oll mewn cyflwr llwyddiannus, ac yn ufydd i'n dysgeidiaeth. Yn y prif Gynnadleddoedd, megys Manchester, Liverpool, Birmingham, Sheffield, a Glasgow, yr oeddynt yn dra llwyddiannus; ac nid llawer llai selog, diwyd, a chariadus, yn y nifer o'r rhai lleiaf. Ymwelais â Llundain ac Edinburgh fy hunan, a gadewais hwynt yn gysurus. Ymwelais á Chymru hefyd, a boddiwyd fi yn fawr iawn wrth sefyllfa hyfryd pethau yno. Cefais yr eglwys Gymreig mewn cyflwr tra llwyddiannus. Cyhoedda henuriad Jones gyhoeddiad misol, yr hwn y mae iddo ledaeniad go dda i ddechreu; a chyhoeddodd hefyd amryw filoedd o draethodau ereill, pa rai a ddosparthodd ar hyd a lled gwlad ei enedigaeth. Mae efe wedi gweithredu yn ol mesurau doeth a synwyrol iawn, ac yn ei gyhoeddiadau teilynga, a dylai gael cefnogaeth a chynnorthwy. Wrth gyfeirio at y daioni a wnaed ganddo ef a'r hénd Americanaidd, nid wyf yn anghofio y Saeson a'r Scotch, canys cefais lawer o honynt hwythau yn awyddus i wneyd yr oll a allent i ledaenu y gwirionedd, ac i adeiladu Seion, a'r rhai a ddysgleiriant etto yn nheyrnas Dduw."

Ceir ychwaneg o gynghorion dyddorol y brawd hwn yn y Rhifyn nesaf o'r *Prophwyd*.

---

## EFENGYL YR ANGEL.

Tôn—"*Eliseus*."

BETH a welwyd yn y nefoedd?
Angel yn ehedeg lawr.
A oedd rhywbeth ganddo'n dyfod?
Oedd—efengyl Iesu mawr.
Y mae hono i'w phregethu
I bob cenedl, llwyth, ac iaith—
I'r holl bobloedd ar y moroedd,
Ac ar wyneb daear faith.

Onid oedd efengyl genym?
Oedd—braidd rif y tywod mân.
Wel, beth yw'r efengyl newydd?
Hen efengyl fu o'r blaen.
Dyma'r un bregethai Pedr,
Dyma'r un bregethai Paul;
Dyma'r un bregethwn ninnau,
Mewn awdurdod ar eu hol.

P'le mor hir y bu'r efengyl?
Yn ei "hymadawiad" bu.
Beth a ddaeth o'r rhai fu hebddi?
Duw yn Farnwr cyfiawn sy.
Ciwd ni cheisir lle nis hauwyd,
Na dydd-goleu lle bo nos:
'Nawr llewyrchu mae goleuni—
Na foed neb yn gwel'd yn groes.

Yr

## CAPT. JONES AR FORMONIAETH, YN 1846,

YN CYNNWYS

Y Gyfrol gyntaf o *Prophwyd y Jubili;* yr *Hen Grefydd Newydd;* yr *Atebydd;* y *Glorian;* yr *Amddiffyniad;* a'r *Milflwyddiant;* ac *Anerchiad y Deuddeg Apostol:* wedi eu rhwymo yn un gyfrol hardd, 12plyg. Pris Tri Swllt.

Gwell sicrhau copi yn fuan, gan nad ellir cael un o'r rhai uchod ond yn y Gyfrol, oddieithr Cyfrol o'r *Prophwyd,* canys y maent allan o argraff, ac nid ydym yn meddwl eu hail-argraffu yn fuan.

---

## CYMMANFA MORGANWG.

Cynnelir y Gymmanfa hon yn Neuadd y Cymreigyddion, (*White Lion,*) Merthyr, dydd Sul, Gorphenaf 11eg.

Bydd *Cylchwyl y Gymdeithas Genadol* ar y dydd canlynol, sef dydd Llun y 12fed. Gellir cael tocynau am swllt yr un gan lywyddion yr holl ganghenau, ac ereill, a thaer erfynir ar holl ewyllyswyr da y gymdeithas ddaionus hon ymdrechu a allont erddi, gan obeithio na bydd y chwiorydd tirion un dim yn ol i'w sel, eu hymdrechion, a'u ffyddlondeb blaenorol.

D. S. Bydd y wledd ar y ford erbyn hanner awr wedi dau o'r gloch y prydnawn, a thraddodir darlithoedd yn yr hwyr.

---

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

JOHN JONES, ARGRAFFYDD, RHYDYBONT.

// PROPHWYD Y JUBILI,

NEU

SEREN Y SAINT.

RHIF. 14.] AWST, 1847. [PRIS 2g.

## PWY YW YR "HEN DDIHENYDD?"

Y MAE hwn yn gwestiwn mynych, ac a atebir mor amrywiol gan ddoethineb ddynol ein hoes, ag yr atebir pob peth arall braidd a berthyna i "ddirgelwch duwioldeb." Yn hawdd y canfydda y neb a ddarllena weledigaethau y prophwyd Daniel yn ddiduedd, mai yr "hen ddihenydd," sy'n llanw y cymmeriad, yn dal y swydd, ac yn cyflawni y gwaith mwyaf, rhyfeddaf, a gogoneddusaf, ond UN, a welai Daniel drwy'r holl olygfa fawreddig. Hysbyswyd i Daniel sefyllfa a thynged ddyfodol y byd cyn hyn, gwelodd yr hwn sy'n "dadguddio dirgeledigaethau," yn fuddiol ddangos iddo ddechreuad, cynnydd, a dinystr pedair o ymerodraethau, amrywiol a rhyfedd, y rhai oeddent yn eu tro i estyn eu gwialen haiarn dros y byd. Mewn gweledigaeth flaenorol gwelsai y bedwaredd freniniaeth yn chwilfriwio yn ddeg o ranau, ac yn mhellach etto, gwelai derfysgoedd, chwyldroadau, a chyflafan, y cyfan o deyrnasoedd y ddaear am oesoedd a chenedlaethau lawer; yn ddiweddaf, a rhyfeddaf o'r cyfan, gwelodd darddiad y bumed a'r olaf freniniaeth, yr hon a faluriai yr holl freniniaethau ereill a ysgydwai deyrnwialen amerodraethol, ddwyfol, ac auraidd, dros holl gyffiniau y faith greadwriaeth hon yn dragwyddol.

Gwelai sefydliad yr olaf hon, nid fel yr holl rai blaenorol, trwy ddoethineb, trachwant, neu allu daearol, ond "y cyfyd DUW Y NEFOEDD freniniaeth," ebe efe, Dan 2. 44, gan gyfeirio nad oedd ganddo ef a wnelai â'r lleill oedd cyn hyn; ac wedi hyn ni ddywedai y Brenin fel yn yr oruchwyliaeth yr ymddangosodd ei hun, "Fy nheyrnas i nid yw o'r byd hwn," *yn awr*, fel pe dywedasai; ac ni fydd ychwaith hyd yr amser y cyfeiria Daniel ato. Er diwallu y syched a'r awydd a achosodd y golygfeydd hyn iddo i ddeall ychwaneg, yn enwedig am y deyrnas ogoneddus oedd i barhau yn dragywydd, drachefn ffrydiai doethineb o'i ffynnonell ddihyspydd drwy ei phibellau llifeiriol, gan bortreadu o'i flaen fanylach darlun o wrthddrych ei serch, yr hwn drwy gynnorthwy yr amlygiadau cynt a ymddysglaeriai yn awr yn

fwy tanbaid, eglur, a gogoneddus, i'w olygon ysbrydoledig a threiddgar; canfyddai nid yn unig ddirywiad ymerodraethau eangaf a ddyfethodd penau coronog fel män lwch y clorianau; ond mewn syndod canfyddai, mewn rhwysg mawreddig, a'i wisg cyn wyned â'r eira, a gwallt ei ben fel gwlan,—yn eistedd yn goronog ar orseddfa fel o dân fflamllyd—olwynion tanllyd yr hon a ddifäau o'u blaen bob peth a'u gwrthwynebai, fel sofl o flaen y ffiam angerddol:—o'i flaen rhedai afonydd o dân fel llifeiriant y *Valcanoes* berwedig, ac yn blaenu osgordd o fil o filoedd, a myrdd myrddiynau o nertholion y nef, a rhai dewrion a rhagorol y ddaear drwy'r oesoedd y gwelodd y prophwyd yr "HEN DDIHENYDD!!" Dan. vii, 9, 10.

Wedi ei ddyfodiad i'r ddaear gwelir ef yn trefnu cynghor dewisol o blith detholedig gynghorwyr yr holl oruchwyliaethau blaenorol,—ei wisg a'i addurniadau barnol am dano, a'i wialen freninol yn ei law alluog, ac eisteddai yntau yn *Chief Magistrate* ar y cyfan, ac i roddi dedfryd gyfiawn ar bob materion a drinid yno. Yn mhlith y pethau blaenaf a deilyngodd eu ymholiad manwl wedi dwyn y llyfrau gerbron a'u hagoryd oedd condemniad a dienyddiad rhai o'r awdurdodau uchaf a galluocaf a feddai amherawdwr blaenorol y ddaear, a'i brif-lywydd ef a deflir gyntaf i dân tragwyddol, [adn. 11]; y peth nesaf yw cyfranu mwy o ddoethineb (yr hyn yw nerth) i'r swyddogion detholedig fel y dysgont hwythau holl ddeiliaid y deyrnas fuddugoliaethus yn mhob dirgelwch, doethineb, a deall a fo gyrhaeddadwy er eu perffeithio a'u haddasu i oddef, ac i allu cydfwynhau y gogoniant anrhaethadwy yn ymddangosiad y brenin mawr ei hun i deyrnasu ar ei deyrnas, adn. 18. "Eithr Saint y goruchaf a dderbyniant y freniniaeth [gan eu brenin drwy'r 'hen ddihenydd'] hyd byth, a hyd byth bythoedd." Nid gwaith bach fydd perffeithio y cyfan erbyn yr olygfa hon!

Dyben brenin y breninoedd yn anfon yr "hen ddihenydd" a'i osgordd nefolaidd gydag ef, yw yn rhagredegwyr i barotoi ei ffordd o'i flaen i reoleiddio ei deyrnas yn berffeithiach,—i addasu pobl barod, fel y gallai y rhai a ddiangasai o'r "Babilon fawr," ac a ddaethant allan o'r cystudd mawr, allu sefyll yn mhlith y dorf ddirif gydag ef ar fynydd Seion, a'u gwisgoedd wedi eu cànu fel gwisg yr hen ddihenydd, ac y byddai wedi eu dysgu beth yw, a pha fodd i ganu cân Moses a pheraidd ganiadau yr Oen yn un llais, mesur, dyben, a chalon; canys nid dyfod i *barotoi* ei briodferch y bydd y brenin; ei weision a wnant hyn yn flaenorol, "a'r wraig a *ymbarotodd*," a ddywedir pryd hyny. Pwy na wel y gwaith mawr fydd gan ei weision i ddysgu y fath dorf i'r graddau hyny!—Y fath ymdrechiadau a ddibyna ar yr ysgolheigion, ac hefyd y gymdeithas a raid fod rhyngddynt a'r pen Ysgolfeistr mawr cyn y deallant beth yw dysgu! Pwy a greda fod drws yr ysgol wedi cau, a gwefusau yr ysgolfeistr wedi eu sêlio i fyny am byth! Atebwn, nad neb sy'n deall dim am y cyfnod rhyfedd y cyfeiriwn ato. O, ddedwydd ddydd fydd hwn! O amser hyfryd!! brysied i ben, pan yr adnebydd pawb [o'r rhai a adewir yn fyw ar ol y pläau, &c.] yr Arglwydd; y byddant wedi eu dysgu gan ei weision nes dyfod oll i'r dosparth blaenaf i gael eu dysgu ganddo ef ei hun. Nid rhyfedd i'r hen Ddaniel lewygu gan lawenydd a dysclaerdeb yr

olygfa hon pan etto yn gaethwas. A pha dafod a ddichon draethu,—pa feddwl a ddichon bortreadu; neu pwy engyl a ddichon hysbysu y filfed ran o hapusrwydd, gogoniant, a dedwyddwch y bobl gyfiawn a fyddant byw ar y ddaear pan ddygir yr holl bethau hyn i ben!

Etto gofynir, Pwy yw yr "HEN DDIHENYDD" hwn sydd i gyflawni y fath orchestwaith tuhwnt i holl ddwyfol weledyddion y dyddiau diweddaf? Anmhosibl ei fod yn "Fab y dyn," oherwydd *ar ol hyny* y daw "Mab y dyn gyda chymylau y nefoedd; ac at yr *hen ddihenydd* y daeth, a hwy [yr osgordd] a'i dygasant, [sef Mab y dyn] gerci fron ef," sef gerbron yr "hen ddihenydd." Mae'n amlwg fod yma dri chymmeriad, oll yn wahanol o ran swyddau a gogoniant. Ni ddichon fod y ddau hyn yr un a'r unrhyw berson, heb fod hwnw yn cael ei ddwyn ger ei fron ef ei hun! yr hyn fyddai yn wastraff gwallgofus ar iaith. Er eu bod hwy oll yn un mewn dyben, cydweithrediad, a chariad, etto *personau* gwahanol yn llenwi gwahanol gylchoedd y'nt. Nid oes amheuaeth am pwy yw y "Mab y dyn," etto pwy yw yr "hen ddihenydd" hwn fydd yn *ail* iddo, sydd yn ymguddio o olwg lluoedd yn mhlith dirgelion ereill teyrnas Dduw. Nid Duw Dad ydyw ychwaith; oherwydd, pe buasai y Saint yn addas i ddala tanbeidrwydd gogoniant y Tad, pa angheanrheidrwydd am yr holl ddarpariadau mawrion hyn i'w haddasu a'u parotoi i gymdeithas y Mab? onid yw gogoniant y Tad yn ogyfuwch ag eiddo y Mab! Hefyd, nid y Tad sy'n darparu y deyrnas a'i chyflawnder i'r Mab, ond y Mab a wna hyny, fel wedi gorphen ei pherffeithio y rhoddo y Mab hi i fyny i'w Dad, fel y byddo Duw oll yn oll.

Etto ymchwiliwn, Pwy yw'r "hen ddihenydd?" Casglwn y byddai rhyw un o henafiaeth fawr; ie, yr henaf a drigodd mewn cnawd efallai: awgryma ei enw hyn yn Saesneg, sef *Ancient of days*, yr henaf mewn dyddiau, yr hyn sy'n nodwedd digonol i'w wahaniaethu oddiwrth bawb ereill y fu, y sydd, ac a ddaw. Ni wyddom am un resymeg na dim a wrthbrofa hyn.

Ond diolch i'r Duw sy'n y nefoedd, ac yn dadguddio dirgeledigaethau i'w Saint ar y ddaear, yn awr mor rasol ag yn nyddiau Daniel, a'i blant ereill, nad yw efe wedi gadael ei Saint mewn anwybodaeth o'r peth hyn ychwaith, ond wedi adferu a dadguddio drwy ei weision y prophwydi, sicrwydd am hyn hefyd fel am y pethau rhyfedd a gogoneddus a amlyga etto er darparu pobl briodol i'w gyfarfod ef. Drwy y cyfryngau hyn hysbysir ni nad yw yr "hen ddihenydd" amgen nag ADDA ei hun, sef yr Adda cyntaf yn rhoddi y goron ar ben yr ail Adda a'i henuillodd. Felly gwelir fawr amryw ddoethineb Duw a'i gynllun i ddwyn meibion lawer i ogoniant. Anfonodd yr Adda cyntaf, a'r genadwri gyntaf, yn nechreuad yr oruchwyliaeth gyntaf i'r byd i lywyddu dros ychydig; ac efe a'i denfyn etto yn niwedd yr oruchwyliaeth olaf i iawndrefnu yr anrhefn a achosodd; ac fel y rhagora yr olaf mewn gras drwy'r ail Adda, y tra rhagora gogoniant yr "hen ddihenydd" mewn rhifedi ei ddeiliaid, pa rai a fyddant yn filiynau dirifedi i'w cyflwyno oll yn un i'w gwaredwr a'u teilwng Frenin; wedi hyny cyflwyna yntau ei hun a'i oll i'w Dad, "fel y byddo efe oll yn oll." Amen.

---

## Y "PARCH. W. R. DAVIES, O DDOWLAIS," A'I ERLIDIGAETH GREULON A CHYWILYDDUS ETTO!—ETTO!!

Cofus genym pan yn fachgen am orlifiad eirias andwyol *Etna a Strombulo*, pan chwydent o'u *crater* gynnwysiad eu poeth grombil hunan ymgynhyrfiol, afonydd o dân a brwmstan, nes difa pob blodeuyn, glaswelltyn, a phob peth bywydawl yn nghyraedd eu cynddeiriog dònau tanawg! Gwelsom orlifiad diliwiol afonydd y *Nile*, y *Mississippi* ("tad y dyfroedd"), y *Missouri* gyflym, y *Niagara* fawreddig, a'r *Ganges* ysplenydd yn rhuthro dros ei *chateracts*, a'i glanau, gan ysgubo tai, ie, trefydd—pobloedd, ac anifeiliaid, ar ymchwydd eu tònau creulon yn gyflafan i'w llynclyn diwaelod. Clywsom swn daeargrynfäau a lyncasant fynyddoedd a dinasoedd cyfain braidd ar un tamaid i eigion dirgel wlad angof! Hysbys yw, yn nes atom, am y tanau tànddaearol a chwythant mewn aeliad ar brydiau lawer o'n cymydogion cu i'r byd arall, parod neu beidio!

Ond erioed (hyd ei allu) ni welsom efelychiad manylach o'r pethau uchod nag ydyw gorlifiad ymysgaroedd aflan y gwr uchod yn awr ac eilwaith drwy'r wasg a'r pwlpud, yn erbyn ei gymmydogion diniwed, oherwydd eu crefydd! Fel y *Volcanoes*—nid ymarllwysa y naill grombiliaid afiach, ond er gwaghau pwll ei galon erchyll i grynhoi ffrwd aflanach fyth: a phan ar forstio gan falais a chenfigen, allan y dylifa ffrwd enllibaidd drachefn fel trwy y *crater* o bwll dihyspydd. Ai tybied mewn sobrwydd nad oes rhyw fath o *gas*, neu *foul air*, tanddaearol yn *electrifio* creaduriaid arwynebol tua Dowlais. Yn siwr, nid annhebyg yw y cynhyrfiadau a'r gorlifiad o berfedd *Volcano* "*Caersalem*" ar ei brydiau! Erbyn hyn deall pobl Dowlais pan fydd ar forstio, a chwydu ei a lendid dros y dref wrth ei gnofeydd a'i bangau, fel y dealla y rhai sy'n byw ar gyfer i *Etna a Vesuvius*, wrth eu *grumblo*, a'u tyrfau hwy hau.

O'r hyn lleiaf, dylai ei gyfeillion (os oes ganddo rai) sylwi a oes rhyw *electric gas*, neu rym elfen aflywodraethol yn dylanwadu mor gryf ar y *Volcano* hunan ymsymudol hwn, fel na all beidio a chwydu allan ei ddrygioni a'i ffolineb; a'i berswadio i ymsymud o Dowlais i wlad Nod, diffaethwch Ethiopio, neu ryw le anial arall i chwydu ei aflendid, rhag ofn y *burstia* fel Judas gynt (yr hwn oedd eirwirach dyn o lawer) a halogi yr hinsawdd foesol dan ffroenau ei gymmydogion yn hwy rhag ei gywilydd! Digon o esgusawd dros awch ein fflangell yw coffau mai *amddiffyn* ein henwau da a'n crefydd yr ydym.

Yr hwn a amheua gywirdeb y cymhariaethau uchod, a'u haddasrwydd, darllened orchestion enllib, chwedlau aflan, camgyhuddiadau dyfeisiol, anfoesol a niweidiol, ac erlidigaethol, anorphen y dyn hwn yn ngholofnau y "*Bedyddiwr*," &c. Er pan y daeth y Saint gyntaf i Gymru, a gwrthod o'u pregethwr cyntaf gyflogi yn was pregethwraidd iddo ef, ni pheidiodd a chwythu allan ei gâs a'i falais i'w herbyn. Yn ychwanegol at hyn, os nad *anfonai* ei hudolion ceccrus i aflonyddu eu cyrddau, efe a *gydsyniai* a hyny, ac allan gyrai y naill ystori gynffonog ac afluniaidd drwy'r wasg, yn cario enw ac iaith ei thadws ar ei thalcen. Er hyn oll, llwyddo yr oedd y Saint, ac o'r diwedd allan âg yntau ei hun fel seren wibio drwy'r wlad yn bwrpasol i gamddarlunio, ac erlid y Saint o bwlpud bwy gilydd lle y caffai; a thag yw addef, fod ei sothach yn rhy

wael yn ngolwg dynion rhesymol i adael iddo ddringo i'w pwlpudau i'w traethu. Fel pe y mynai fod yn ben bwli, neu *champion* erlidwyr ei oes, fel y bu Goliath, Herod, Nero, ac Adrian, yn eu hoesoedd hwythau, parha i ddyfeisio rhyw ystoriau newyddion mor gysson braidd ar newydd loer; ac mewn gair y gellid dweyd mai hwn yw braidd, "*tad y celwydd*"-au a draethir hyd heddyw ar y Saint, efe yw eu cenedlwr, ac efe a raid roi cyfrif am danynt etto! Wedi diflasu ei wrandawyr â'i dafod brwnt, a gweithio ei beiriant enllibawl allan o ddefnydd crynhöodd ei hen ddarlithoedd yn draethawd er cael ychwaneg fyth o ddefnyddd o'i flagardiaeth, ac a'i galwodd yn "*Sylwedd Pregeth!!*" A chan yr addefa fod *sylwedd* ei bregeth yno, ni raid i neb amau pwy a'i danfonodd i'w phregethu!!

Adolygais ei *draethawd* yn fanwl a theg yn "*Seren y Saint*" am, o Medi hyd Hydref. Yno gwelir ei dwyll, ei ddwlni, a'i ddrygioni mor eglur fel na feiddiodd hyd heddyw i wrthbrofi un dim o hono. Gwnaethum hyn oll rhag ofn ei fod ef mor ddwl a chyhoeddi y fath bethau yn ei anwybodaeth; ond erbyn hyn gwelir mai yn wybodus y cyhoeddai y cyfan drwy iddo addef ddarfod iddo ddarllen "*Seren y Saint*," a thrwy hyny weled ei gyfeiliornadau o angenrhaid, ac yn lle eu galw yn ol ac edifarhau o'u herwydd na'u gadael yn llonydd i addoli Duw ein tadau, fel y caniateir i bawb ereill o blant Gomer yn yr oes oleu hon, ac fel y gwnelsai pob dyn a feddianasai un gronyn o onestrwydd cydwybodol, neu awydd i'w gyd-ddynion gael y gwir, nid yw'r cyfan yn tycio dim er ei adferyd o'i wallgofrwydd, na'u gadael yn llonydd, ond yn waeth waeth byth, fel pe bai ar frys i gyflawni mesur ei anwiredd, rhuthra etto fel march gwyllt i frwydr drwy ail fampio ei "sylwedd pregeth" yn Gatecism i dwyllo a dallu plant yr Ysgolion Sabbothol druain i'w gaddug. Ond yr hyn sydd a wnelom ni âg ef yn hyn yw, oherwydd ei fod yn darparu ac yn cyflwyno arfau dinystriol, sef ei gamgyhuddiadau, i ddwylaw y genedl ieuanc sydd yn codi, pa rai hyd eu credir a fagant y fath gas a chenfigen nes y sychedant am waed gwirion y rhai a feiddiant addoli Duw yn ol y Testament Newydd yn eu gwlad eu hun! Gwelsom cyn hyn er ein gofid, ysbryd cyhuddiadol a chelwyddog fel hwn yn drachtio gwaed merthyron duwiol yn lli! Hyd y nod mewn Catecism i Ysgolion Sul, ni all yr "efengylwr" addfwyn hwn gael gwell enwau ar ei gymmydogion crefyddol na "SATANIAID!!!" "*Anffyddwyr twyllodrus*," a "*hen Chartists gwaedlyd &c.!!*" Gan i mi adolygu ei draethawd mor fanol, ac ateb yr holl bethau a deilyngent sylw, a chan nad yw ei Gatecism ond ail fampiad o hwnw, wedi cael gwneyd ag ef fel y gwna rhai *ladies* a'u *bonnets*, neu y *dandies* a'u hen goatau, sef eu troi a'u dwyn allan yn rhyw ffashiwn newydd. Ni ddysgwylir i ni yma adolygu ei Gatecism hyd oni chynnygia wrthbrofi ein hadolygiad blaenorol: etto, sylwn ar y cyhuddiadau uchod er gweled ai efe, ynte nyni sydd yn eu teilyngu o gwbl. Cyhudda y dyn hwn y Saint o geisio "Hudo yr annysgedig a'r anwastad, i'r dyben i ddenu eu harian, a byw yn segur ar draul y penweiniaid a'u credant," ebe efe. Cyhuddiad trwm iawn yr ystyrid hwn pe deuai o ryw enau heblaw o wefusau halogedig Mr. Davies o Ddowlais; ie, un sy'n teilyngu profion cedyrn cyn ei credid: ond ofer dysgwyl un math o brawf, enghraifft, na rheswm ganddo ef i'w brofi, mwy nag y ceir ganddo i ddim arall, onide buasai allan er's talm ar gyhoedd. Ai Mr. Davies sy'n dwyn y cyhuddiad

hwn! O ba sawl capel y derbynia efe ei hun gyflog, tybied? Pwy sy'n byw mor segur ar draul ei hudolion, ac yn *electioneerio* cymmaint am arian, arian, o hyd â'n cybnddwr? Nid neb a glywsom son erioed. Pwy sy'n denu arian penweiniaid Dowlais i'w siop? Hefyd, pwy oedd y dyn gwarsyth a choch hwnw a welwyd yn y fath ffwdan yn ei bwlpud, nes wrth chwilio ei bocedau yn frawychus am ei bregeth, yn tynu llcned ei ddyrnau o *dickets* y '*New debts act*,'' yn barod i'w sewio ar ei gwsmeriaid na allent dalu eu hen *gownts!*'. Pwy oedd hwnw Syr? Enwch chwi ef fel y gwypo y cyhoedd, ond er hyny gwyr pobl Dowlais nad un o'r Saint a gafwyd yn y fath *ddilemma*. Byw yn segur ar draul ereill, aie? Pwy o honynt sy'n profi eu hunain yn euog o hyn drwy adeiladu tai newyddion, &c.? Pwy oedd y dyn a fu *off* am dri mis heb bregethu unwaith yn un o'i gapeli, ac ar ei ddychweliad yn cael £50 gan ei hudolion cartrefol! Enwch ef Mr. Davies! Pa arian a ddena y Saint, druain? O na, er fod dros gant o honom yn pregethu yn amlach na chwychwi, debygwn; etto, heriwn chwi i brofi eu bod rhyngddynt oll, ie, o ben i ben i Gymru yn denu cymmaint o arian am hyny, ag a ddemandwch chwi eich hun yn Dowlais. Dyna i chwi gynnyg teg, yn awr gwnewch ddefnydd o hono. Cyn cyhuddo ereill o fod yn denu arian, dylai *gwr goludog* fel chwychwi roi esiampl dda drwy bregethu yn rhad, heb unrhyw dâl, fel y gwna y Saint. Neu os at ariangarwch y mae eich câs argoelion, gwael yw tai newydd, siopau, &c., i brofi hyny. Yn lle ceisio diwygio y rhai a alwch yn "SATAN-AIDD," dechreuwch yn nes adref, diau y cewch ddigon o waith gyda eich enwad parchus eich hun, os gwir a ddywed eich llythyr cymmanfa eich hun, yr hon a gynnaliwyd yn *Cwmtwrch* ar yr 17eg a'r 18ed o Fehefin diweddaf. Dengys hwnw yr ystyria eich cymmanfa chwi ariangarwch yn brif Arglwydd eich sect braidd. Ystyrir Mammon mor ben uchel nes y gwnant ef yn brif destun eu llythyr cyfarchiadol, ac nid y'm yn beio arnynt am hyny, ond beiwn arnoch chwi am na ddiwygiech eich hun a'ch plaid cyn cyhuddo ereill. Oni welwch chwi eich dolur yn y drych hwnw, tebyg y gwela eich brodyr ef yn amlwg, "Y niwed o serchiadau bydol," yw eu testun, ac addefant hwy, sef eich brodyr chwi cofiwch, nid y Saint. "Ac y mae hwn [sef mammon] yn milwrio yn erbyn ein budd ysbrydol, ac yn bygwth ein dystryw, [dyma addefiad ei fod yn go ben uchel yn mhlith y Bedyddwyr!] mae y cyhuddiad hwn mor berthynol i ni," meddant, sef i'r Bedyddwyr, cofiwch! a phaham y ceiswch chwi ei dadogi ar y Saint ynte, Syr? Wedi llafurio yn galed drwy'r epistol hirfaith i ddatod llinynau pyrsau, a datfotymu pocedau eu hudolion, fel y delai y tocyns allan yn bawddach, ymddengys y *cloven foot* mor amlwg a'r eiddo chwithau. "Ond ystyriwn [meddant] fod gan Dduw [*alias* pregethwr y Bedyddwyr!] yr HAWL GYNTAF, [dyma hi!!!] a dylai pob perthynas roddi y LLE CYNTAF iddo ef." Pa fodd yr honant hwy fod rhoddi iddynt hwy yn rhoddi i Dduw, sy'n syndod diddarfod! Etto, sylwer pwy sy'n honi yr *hawl* GYNTAF i drysorau eu hudolion dan eu lachio hwy a ninnau am ariangarwch os grwgnachwn ddim yn erbyn y fath ormes. O ffei rhag y fath ddigywilydd-dra. Awgrymant fod yr hwn a hona yr hawl gyntaf i'w bwrs ei hun yn eilunaddolwr, cybyddlyd, ac yn ammau rhagluniaeth Duw, &c.; heb ystyried eu bod hwy eu hunain drwy

honi yr "hawl gyntaf," yn eu haberthu eu hunain i'w heilunod! Heb ammau addasrwydd eu testun, gofynwn pa fodd y meiddiant hwy, heb son am Mr. Davies, daflu cerig at ereill, tra yn byw mewn tai gwydr eu hunain! Wedi cofrestru Balaam, Achan, Gehazi, a Judas, yn mhlith eu hudolion; wedi son am eu mesur byr, eu pwysau ysgafn, a'u halogi y Sabbothau, &c., tuchanant yn drist iawn fel hyn, "y mae cyfoeth rhai yn amlhau, ac etto y maent hwy yn brinach yn eu cyfraniadau na chynt!" Ie, dyma hi etto, llygadu y cyfoeth fyth! Rhybuddia yr ysgrythyrau ni y pentyrai dynion iddynt eu hunain athrawon yn y dyddiau diweddaf, yn troi at chwedlau, &c., ac onid y llythyrau cymmanfäol hyn y'nt? Onid gwneyd marsiandiaeth o'u hudolwyr dan rith o efengylu yw hyn? ac onid dyma y rhai sy'n byw yn segur ar draul y penweiniaid a'u credant? Haera ein cyhuddwyr mai "cyfranu yn helaeth at achos Duw (*alias*, Bedyddiaeth) ydyw y ffordd i gadw cyfoeth yn ddiogel," ac yn wir, "diogel" iawn yw; ïe, rhy "ddiogel" i hyd y nod y llôg ddod yn ol byth. "Gelwir yn ddifrifol arnom (sef arnoch chwi) am ymegniad er cynnal y weinidogaeth gartrefol," meddant. Wel, dyma fwy o fwm beili nag a wna y Saint o neb, ac addas i'r cyfryw eu geiriau eu hunain, sef "Ofer i chwi geisio eu hargyhoeddi (sef y byd) fod eich trysor yn y nefoedd pan y maent yn gweled fod eich calon ar y ddaear." Gwir i gyd. "*Charity begins at home*," Mr. Davies. Chwychwi yn cyhuddo y Saint o geisio darn arian pobl yn wir! Rhoddwch eich *spectol* am eich llygaid unwaith etto, a darllenwch y *penderfyniadau* yn eich "llythyr cymmanfa;" wedi dattod y *pursestings*, gwelir y mammon yn dangos ei ben drwy dri o'r chwech penderfyniad yn tincian am docyns, a chasgliadau at ryw bethau neu gilydd. Y meddyg, iachâ dy hun a'th frodyr. Yn ganlynol daw y "cynllun" gwych dan saith o benau, ar oll o'r rhei'ny ond un, fel clychau yn tincian am arian, nes syfrdanu clustiau y wlad! Ac er nad gwaeth genym faint a gânt o arian y rhai sydd mor ffol a gadael iddynt yr *hawl gyntaf*, etto rhyfeddwn yn fawr pa fodd y gall yr euogion hyn dadogi eu "hariangarwch" ar y Saint sydd yn gweithio â'u dwylaw fel y gallant bregethu yr efengyl yn rhad!

Am yr adeiladu llongau i fyned tua Jerusalem y sonia, gŵyr o'r goreu nad oes gan neb o'r Saint un meddwl i fyned yno, canys darllenodd amgenach yn y llyfr "melldithiol" hwnw fel y geilw, *Seren y Saint*, ïe, mae y cyhoeddiad bach hwnw yn ei drin ef *just right;* ac arwydd ddrwg yw gweled ei yn cnoi y wialen a'i fflangella. Cymmaint â hyna er profi pwy sy'n denu arian penweiniaid, ac yn byw yn segur ar draul eu twyll.

[*I'w barhau.*]

---

## PRIODAS WIRIONEDDOL.

Yr hwn a anturia briodi â gwirionedd a siomir os dysgwylia ei chael amgen na morwyn ddigynysgaeth a diaddurn; prioda hi o ran yr hyn ydyw ynddi ei hunan, ac fel y foneddiges hono oedd wedi ymgyfammodi â milwr i briodi pan ddychwelai o'r frwydr; ond y llythyr nesaf a gafodd oddiwrtho oedd un yn ei rhyddhau hi oddiwrth yr ammodau hyny i briodi arall, oherwydd ei fod ef wedi colli ei bedwar aelod ar

faes y gwaed, a'i anharddu gymmaint, fel nad oedd yn deilwng o honi. Hithau a'i atebodd ef yn ol fel yr ateba pob doeth pan glywo wirionedd, sef "ei bod hi yn foddlon i'w briodi er gwell ac er gwaeth, serch iddo golli ei aelodau, ïe, pe na adawsid yn ngweddill o hono ond digon o gorff i gynnal bywyd, ac yna y daliai hi ef at yr ammod gyntaf." Pan brioder gwirionedd, dylid ymgyfammodi i'w charu, ei meithrin, ac ufyddhau iddi, nid hyd angau yn unig, ond tuhwnt i hyny; canys parha yr undeb hwn nid hyd angau, ond yn hwy nag amser, yr hwn yw gorchfygwr angau. Mae carwr y gwirionedd goruwch y gwael sothach a ddysgleiriant o'i amgylch, yn gadarn yn nghanol temtasiynau, yn eofn a gwrol yn nghanol bradwriaethau, a'i berl o'i flaen yn denu ei serch ar ei ol. Dynion rhagfarnllyd a genfigenant wrtho, yn unig oherwydd ei fod ef yn ddiragfarn; gwaeddant bargain ddrud ar ei ol, am na ellir ei brynu ef; gwrthwyneba pob pleidiwr ef, oherwydd nad yw efe bleidiwr; ond priod sydd yn caru ac yn dilyn ei briodferch nefolaidd, yr hon sydd foneddiges hardd odiaeth, o achau dwyfol, ac o waed breiniol, a'i henw yw gwirionedd.

---

## NEWYDD DA I'R SAINT.

*Ty y Cyffredin, dydd Llun, Mehefin* 14.

"Arglwydd M. Hill a ymddangosodd o flaen y *bar*, ac a ddywedodd ddarfod iddo ef ar y dydd hwnw, yn ol dymuniad y ty, ymweled â'i Mawrhydi, a chyflwyno i'w sylw yr araeth a wnaeth y ty ar y *colonization* (tiriogaethu). ac i'r hyn y rhyngodd bodd i'w Mawrhydi ddychwelyd yr atebiad grasol a ganlyn:—

"'Yr ydwyf wedi ystyried araeth fy ffyddlon Dy y Cyffredin. Yr ydwyf yn bur deimladwy o'r lles a ddeilliai oddiwrth y mesurau goreu i hwylnso tiriogaethu, a chyfarwyddaf ar fod ymchwiliad manylach yn cael ei wneuthur i'r mater, fel y galluoger y Senedd i drefnu rhyw fesurau a wareda yr ymfudwr a'r tiriogaethau oddiwrth niweidiau byrbwylldra ar y peth hyn.'

"Gorchymynwyd i atebiad ei Mawrhydi gael ei groniclo."

Er nad ydym yn meddwl mai yn uniongyrchiol, nac ar y tro cyntaf, y dygir y mesurau a ddymuna y Saint yn y blaen, etto gan na cheisiant ond cyfiawnder, a'r hyn fydd er lles i bawb, ac heb golled i neb, yn eu deiseb diweddar at ei Mawrhydi, a chan fod calonau pawb yn llaw eu Tad nefol, annoga yr holl ystyriaethau hyn ac ereill ni, a dymunem iddynt gysuro calonau a chryfhau ffydd pob un o'r Saint ffyddlon i gredu fod Duw yn cofio ei addewid, ac mewn iawn bryd yr agora ffordd i'w bobl ffyddlon gael gwaredigaeth. Addawodd, os na byddai breninoedd a breninesau yn dadau a mamau, y byddent yn dadmaethod a mammaethod i'w blant, ac mae yn debyg mai trwy drefnu mesurau er casglu ei blant ynghyd o'r pedwar cwr y cyflawnant y brophwydoliaeth hon; o'r hyn lleiaf, credwn hyn yn ddiysgog, na bydd un o honynt yn ol oherwydd eu tylodi, ond iddynt fod yn gyfoethog yn yr Ysbryd, neu yn ffyddlon yn eu dyledswyddau.

Yr hyn a ddigalona y llywodraeth fwyaf i anfon ei deiliaid i'w thiriogaethau pellenig a newydd, yw y perygl iddynt fod mewn eisieu yno

cyn y gallant dyfu cnwd o'r ddaear, neu y gost fawr o'u cynnal hyd hyny, ynghyd â'r gost o'u cludo yno. Am yr olaf nid yw ddim, a'r cyntaf nid yw ond bychan wedi deall pa fodd. Pe rhoddai y llywodraeth 320 o erwau o dir, yr hyn nid yw ond hanner *section*, gallent gael marsiandwyr yn y wlad hon a'u cludai yno am ran o'r tir hwnw, ac felly gallent ddarparu lluniaeth â'r oll a feddent yma, ac wedi'yn byddent yn rhydd-ddeiliaid mewn gwlad ffrwythlon, a hinsawdd iachus, lle na byddai raid fod newyn nac angen ar neb o honynt. Heblaw hyny, y mae rhai o diriogaethau ei Mawrhydi, megys Oregon, Vancouver, Australia, &c., yn y fath hinsawdd dymherus ag a gynnyrcha lawer math o ymborth mewn ychydig wythnosau, a dau gnwd o yd yn flynyddol, heblaw y digonedd o gig helwriaeth sydd i'w gael yno. Ac felly, pe caniatäai ei Mawrhydi ond cynnifer o erwau o dir yno i bob gwrryw a ddelai i oedran, gosodai y cyfryw mewn sefyllfa annibynol, ïe, mewn sefyllfa ddedwydd a chyfoethog, a'u hiliogaeth ar eu hol; ac felly yr oesoedd a ddel a'u galwai yn wynfydedig. Hyderwn mai felly y gwel yn dda wneyd, fel y gwaredo y neb a ddewiso rhag y newynau, y dyoddefiadau, a'r barnau tost ag sydd ar ddyfod ar holl rai annuwiol y ddaear.

---

## ARWYDDION YR AMSERAU.

Ysgrifena gohebydd i un o newyddiaduron Caerefrog Newydd, o yn agos i Galena, dyddiedig Mai 18:—"Clywais am genllusg mawrion lawer tro, ond ni welais rai hyd ddoe. Tua pedwar o'r gloch y prydnawn, daeth cwmwl dudew o'r gogledd, ac a arllwysodd arnom wynt, cenllusg, a gwlaw. Yr oedd rhai o'r cenllusg gymmaint â wyau gwyddau, neu *turkeys*. Nid oedd genyf gyfle ar y pryd i'w pwyso, ac ni feddyliais am eu mesur; ond codais rai yn mhen 3 awr wedi iddynt ddisgyn, ac yn mhen 16 o oriau wedi iddynt ddisgyn mesurodd un o honynt 4¾ o fodfeddi wrth 3¾. Dywedodd boneddwr wrthyf ddarfod iddo ef fesur rhai yn mhen tuag awr wedi iddynt ddisgyn, pa rai oeddynt yn 10¼ o gylchfesur; ac arall a fesurodd un oedd yn 9¼ o gylchfesur. Deallaf fod y cnydau wedi eu dyfetha yn arw yn y ffordd y daeth y cwmwl o'r gogledd. ac i'r dwyrain oddiyma maent wedi dyoddef yn fawr. Sicrhaf i chwi fod y cenllusg gymmaint ag a ddewisai neb weled, ac yn llanw gwyneb y ddaear o dan ganol y cwmwl."

Dywed y *Marietta Helicon* o'r 20fed o Fai, fod cawod o genllusg mawrion wedi disgyn yn eu tref hwynt, a'r swydd, nos Sul, ac wedi dystrywio llawer o'r yd a'r ffrwythau. Ac ar nos Lun bu cawod drom arall am oddeutu hanner awr, ac a oerodd yr hinsawdd nes yr oedd tân nid yn unig yn oddefol, ond yn bleserus. Mewn manau ereill hysbysir fod yd yr India a'r cottwm wedi eu llwyr ddyfetha hyd y nod yn y manau hyny o'r Taleithiau deheuol lle y cyrhaeddodd y gawod. nes y mae y ffermwyr yn ail aredig eu tir cottwm i gnydau o rywbeth arall. Dywed cyhoeddiad Lagrange fod y cenllusg wedi disgyn o bwysau bwledi drylliau hyd i faint wyau geir. a rhai darnau yn pwyso llawer wns; eu bod wedi llwyr ddinystrio caeau cyfain o yd yr India, gwenith. &c., ac wedi eu chwythu a'u curo yn wastad â'r llawr, ynghyd â'r *rail* gloddiau, y coedydd, a phobpeth oedd yn eu ffordd.

Anmhosibl dywedyd pa faint yw y golled, meddant. Cyrhaeddodd yr ystorm hon drwy dalaeth Alabama, gan ddifrodi pob peth o'i blaen, a llauw gwyneb y ddaear am amryw fodfeddi o drwch, ac oddeutu chwech modfedd o gylchfesur.

Hysbysir ni hefyd fod cawod erwin o genllusg rhyfeddol o faint wedi rhuthro drwy dalaeth Georgia oddeutu yr un pryd, gan achosi galanasdra mawr, yn enwedig i'r coed, ffrwythydd, a'r cnydau. Peth anarferol iawn yw clywed am y fath genllusg â'r rhai uchod. Ac, a ystyrid ni yn rhyfygus tybied pe anturiem ofyn, A oes llais gan Greawdwr yr elfenau drwy bethau fel hyn at drigolion gwrthnysig daear? Dywed Job fod yr Arglwydd yn cadw cenllusg hyd amser cyfyngder, hyd ddydd ymladd a rhyfel. Dywed y Salmydd, Salm lxxviii, 47, mai barn Duw ar yr Aifft oedd dinystrio eu gwinwydd â chenllusg. Dywed y prophwyd Esay, pen. xxx, 30, fod y cerig cenllusg, a'r tân ysol, yn profi ardderchogrwydd llais yr Arglwydd. Dywed hefyd yr ymladd Efe â chenllusg yn erbyn gelynion ei bobl Israel yn eu hadferiad olaf i'w gwlad, fel y gwnaeth â'u gelynion gynt. Gwel Ezeciel xxxviii, 22. Gwelir hefyd oddiwrth Dat. viii, 7, mai cenllusg fydd yn mhlith pethau ereill y defnyddiau a arfera Duw i ddial ei lid ar y rhai o deulu y Babilon fawr a wrthodant ei efengyl, gan anmharchu ei weision: ac yn mha wlad y gwnaethant hyny yn y canrifoedd diweddaf fel yn y wlad lle y mae Duw y gweision hyny yn dechreu ymweled â hi gyda'r fath genllusg mawr? er nad yw hyn ond dechreu gofidiau. Dywedodd Duw wrth ei weision pan yn eu hanfon drwy'r wlad hono,—"Ar ol eich tystiolaeth chwi y daw tystiolaeth, mellt a tharanau, CENLLUSG, llifddyfroedd, a thânau," &c. A rhyfedd fel y cyflawnir hyn yno eisoes gymmaint mwy nag yn un wlad arall, yn enwedig er pan y maent wedi alltudio plant Duw o'u plith!

Dywed Ioan, yn Dat. xvi, 21, iddo weled cenllusg mawr fel talentau yn disgyn o'r nef ar ddynion, ac er hyny oll, fod dynion yn cablu Duw y nefoedd oherwydd pla y cenllusg, canys mawr iawn oedd eu pla hwynt. Amlwg yw nad er argyhoeddi dynion y mae y pläau, ond gweision Duw sydd i argyhoeddi drwy bregethu, a Duw sy'n dial ar eu gwrthodwyr drwy'r pläau, &c.

Argoel ryfedd arall o fod y Duw cadarn yn darparu ei offerynau dinystriol erbyn dydd yr ysglyfaeth, pan eilw efe ynghyd, nid fwlters yn unig, ond holl adar yr awyr, i wledda ar gnawd breninoedd a thywysogion, ac ar gig yr holl rai a addolant y bwystfil, neu a dderbyniant ei nôd, yw yr hyn a ganlyn:—Cynnwysa newyddiaduron talaeth Missouri (sef y dalaeth a alltudiodd y Saint yn ddiachos a diarbed o'u cyffiniau) hanesion rhyfedd am ymddangosiad llu mawr o fwlters yn ehedeg o'r gogledd i'r deau drwy'r dalaeth hono. Cyrhaeddent o ran lled tua dwy filltir, &c., o'r gogledd i'r deau, cyn belled ag y gwelai y llygaid. Ehedent cyn agosed i'r ddaear â brigau y coed, a chyn uched i'r awyr, fel eu gwelid yn un cwmwl tew, a chyn agosed i'w gilydd ag y gallent ehedeg. Gymmaint oedd eu trwch a'u cysgod nes cysgodi goleuni yr haul nes yr oedd fel tywyllwch yr Aifft odditanynt. Yr oedd y trigolion wedi dychrynu yn fawr wrth yr olygfa, a mawr oedd y dychymmygu beth oedd yr achos, ynghyd â pha beth fyddai y canlyniadau.

Ond os yw hyn bach yn eu dychrynu, beth a ddaw o honynt pan roddo Duw y Saint eu cnawd hwynt yn fwyd i adar y nefoedd?

Er fod arwyddion i fod yn y nefoedd, ac ar y ddaear gwaed, a than, a chenllusg, a newynau, rhyfeloedd, a heintiau, &c., etto dechreu gofidiau yw hyn oll: nid yw "diwedd y byd" etto, fel y dywed rhai, ac ni ddaw ychwaith hyd oni bydd "yr efengyl hon am y deyrnas" wedi cael ei phregethu drwy'r byd er tystiolaeth i'r holl genedloedd—hyd oni byddo y ddaear wedi ei diluwio gan waed—dinasoedd wedi eu llosgi yn ulw, neu eu llyncu i grombil y ddaear—hyd nes y gorwisgir y cenedloedd â gwelwder ac ag ofn—hyd oni leddir y lleill o'r prophwydi a'r apostolion santaidd oherwydd tystiolaeth Iesu, fel y lladdwyd eu brodyr gynt—nac hyd, y gwelir arwydd eglur Mab Duw yn y nefoedd, y daw diwedd y byd. Arwyddion rhagflaenol yw y lleill oll.

---

## NEWYDDION O CALIFORNIA.

Tiriodd 1400 o ymfudwyr yn nyffryn y San Francisco yn yr hydref diweddaf, 200 o honynt yn Saint, pa rai a ddaethant oddiamgylch Cape Horn, a'r lleill mewn 180 o bedrolfeni dan arweiniad y llywydd Boggs dros y mynyddoedd.

Mae y ffordd yn gwella yn flynyddol o'r taleithiau yma. Y ty cyntaf ag a welant ar eu ffordd ar ol gadael y taleithiau yw eiddo Mr. Johnston, Sais, yna Capt. Sutters, pa rai a ddarparant yn well gogyfer ag ymfudwyr yn y blynyddoedd dyfodol; ac y mae ereill yn bwriadu sefydlu ar hyd y ffordd, fel na raid i'r ymfudwyr cyn hir fod mewn eisieu dim. Annogir pawb i ddefnyddio ychain i deithio, yn hytrach na cheffylau na mulod. Y rhai a ddygasent nwyfau gyda hwynt a'u gwerthasant yn rhwydd am brisiau uchel. Cafodd yr ymfudwyr a aethant yno gyda Col. Fremont gyfleusdra rhagorol i werthu eu ceffylau, cyfrwyau, drylliau, a phob peth a ddymunent, a chawsant 25 o ddollars o gyflog yn y mis am 6 mis.

Dysgwyliant o 3000 i 4000 o ymfudwyr i ddyffryn Sacramento eleni. Canmolir medrusrwydd anhygoel y brodorion i ryfela pan ar eu ceffylau eu hunain, oherwydd y maent wedi cael eu dysgu i hyny yn eu ffordd hwynt yn gywrain iawn.

"Ar y 9fed o Ionawr, ymunodd y Cadfridog Kearney, a'r Colonel Cooke, yn San Diego, â'r fyddin Formonaidd gyda hwynt. Canmolir hwynt yn fawr am eu dyfodiad trefnus a rheolaidd i mewn. Dywedir fod eu holl filwyr mewn iechyd a chalon dda, a'u harfau mor loywed â'r dydd y cychwynasant eu taith—mewn dysgyblaeth ragorol, ac heb ddyoddef nemawr o golled. Yn fuan wedi cyrhaedd yma aethant yn mlaen tua Monterey, lle y cyrhaeddasant yn ddiogel. Yno yr ymunodd dwy gatrawd o wyr traed o Baltimore gyda hwynt. Yr oedd Comodore Shubrick wedi ymuno â'r Cad. Kearney yno hefyd, ond ni ellid gwybod beth oedd eu hamcan, canys honai y naill a'r llall eu hawl i lywyddu dros y diriogaeth."—*St. Louis Republican.*

Y *California Star* (cyhoeddiad Mormonaidd) a ddyry hanes am y terfysg a fu yn Santa Clara:—"Fel yr oedd un o swyddwyr y llynges, gydag osgordd o chwech o filwyr, wedi myned i'r wlad ar fusness, hwy

a garcharwyd gan y Mexicaniaid. Anfonodd cadben y llong ddwy gatrawd i'w hymofyn, pa rai a ymlidiasant y Mexicaniaid hyd Yerba Buena, a thrwy eu magnelau gorfuasant hwynt i ymofyn ammodau heddwch."—*St. Louis Union.*

"Hysbysir ni drwy y *Californian* ddarfod i 60 o ymfudwyr wrth geisio croesi mynyddoedd California ddyoddef newyn mawr. O'r pedwar-ar-bymtheg a gychwynasant tua'r dyffryn, ni chyrhaeddodd ond saith yn unig, a gorfu iddynt ymborthi ar gnawd y lleill o'u nifer, ar ol eu marw, rhag iddynt drengu! Yn mhlith y rhai a gyrhaeddasant yr oedd dwy ferch ieuanc. Cynnaliwyd cyfarfod cyhoeddus yn Yerba Buena ar yr achlysur, a chasglwyd 800 o ddollars yn y fan, gwerth pa rai a anfonwyd gyda chwmni yn ymborth i'r rhai oeddynt etto yn y mynyddoedd. Yr achos o'r anffawd hwn oedd oherwydd i'r ymfudwyr golli eu gwartheg a'u hanifciliaid ar y Salt Plains yn agos i Hastings Cut Off, ffordd na ddylid byth ei theithio."

Dyma yr achlysur i bobl ddweyd, "fod y Saint yn bwyta eu gilydd yn yr anialwch." Ond diolch i Dduw y Saint, er gwaethaf y byd, ac er awydd pawb i'w bwyta i fyny, nid oedd un o'r Saint yn y cwmni yna. Maent hwy o dan well arweinyddion nâ hyna.

"Y Mormoniaid. Mae y Mormoniaid a ddaethant i San Francisco wedi ymsefydlu mewn dwy drefedigaeth wahanol, ac yn y wlad eang ac anmhoblog hon, diau y bydd hyny yn well ar les pawb na bod yn yr un fan. Mae ganddynt arferiadau o ddiwydrwydd, pa rai a allant wneyd yn ddefnyddiol iawn yn y wlad hon. Maent yn bobl weithgar, gynil, a gonest, ac yn hollol annheilwng o'r cymmeriadau gwarthus a roddir arnynt gan rai cyhoeddiadau rhagfarnllyd."—*Californian.*

"Ymfudwyr.—Am amryw o'r wythnosau diweddaf, sylwasom ar luoedd o ymfudwyr yn myned drwy y ddinas hon tua'r gorllewin. Synasom wrth eu gwisgoedd trefnus, a'u hymddangosiad boneddigaidd braidd yn ddieithriad. Y rhan fwyaf o honynt ydynt o'r dosparth a ystyrir yn fwyaf parchus a sylweddol o'r taleithiau dwyreiniol. Ni welsom erioed gynnifer o ymfudwyr o gystal ymddangosiad. Ac er ein siomedigaeth fawr hysbyswyd ni gan foneddwr ag sydd yn gwybod, mai Mormoniaid ydynt oll braidd! Trueni fod pobl morgall a phwyllog, a chynnifer o deuluoedd lliosog (canys yr oeddynt yn lliosog iawn) yn cymmeryd eu hudo gan y fath dwyll."—*Pittsburgh Gazette.*

Trueni na buasai efe ei hun mor ddyngarol â chwilio cymmaint i'r egwyddorion ag a wnaethant hwy, cyn collfarnu eu crefydd am dwyll. Druain o'r fath Olygyddion! Nid oedd ganddynt ddigon o ymenydd byth i chwilio dim allan eu hunain, ond cipio yr hyn a gânt yn dyfod ar adenydd yr awel boblogaidd, ac yn mlaen ag ef fel y mae plyfod yn myned o flaen corwynt. Pa un ai efe, ynte y bobl ag oeddynt wedi profi y grefydd a allasai ddeall oreu o barthed iddi? Ond dyma arferiad y cyfryw dr. y'r byd braidd.

## FFORDD NEWYDD AC AGOSACH I CALIFORNIA.

Mae cwmpeini cyfoethog yn Llundain wedi cymmeryd y *charter* i uno y Mor Werydd a'r Mor Tawel a'u gilydd wrth wddfdir Tehuentepec. Dywedir eu bod yn bwriadu dechreu ar y gorchwyl mor gynted ag yr adferir heddwch yn Mexico. Arbedai y fford hon amryw filoedd o filltiroedd, heblaw tywydd annhleserus Cape Horn i'r rhai a ânt hyd y môr tua California neu Oregon. Dymunwn bob llwyddiant iddynt i'w chwblhau yn fuan.

---

## CYNGHORION RHAGOROL.

Ti ddyn adnebydd dy hun! deall dy natur. dysg alluoedd dy gyneddfau corfforol ac ysbrydol. Chwilia i'th ddechreuad, y dyben o'th fodolaeth yn bresennol, a'th dynghedfen dragwyddol. Cloddia am ffynnonell gwir ddedwyddwch nes ei chael yna, ac arllwys ei ffrydiau i fynwesau pawb o'th amgylch. Dysga i bawb dy fod o achau dwyfol drwy dy rinweddau, prawf fod gwaed breiniol yn dy wythenau, nid a'th dafod, ond a'th esiamplau. Ymgyraedd at bob cyfle i eangu dy alluoedd, fel dyn ar foddi, at welltyn a fo ar ei gyfer. Na wrthod un pelydr o oleuni oherwydd y ganwyll a'i dyry, canys goleu yw goleu, deued o ba le y delo, felly gwirionedd. Yn parhau i wneuthur hyn, llanwi y cylch y gosododd dy dad di ynddo, y bydd dy enw mewn coffadwriaeth ar groniclau ty y'th dadau, y geilw dy frodyr di yn wynfydedig, y cei eistedd ar orsedd wen, coron ar dy ben, teyrnwialen yn dy law, ac oesoedd diderfyn i'w gwisgo!

---

## CLEFYDAU YN YR AMERICA.

Mae y *Patriot* am Mehefin 17eg yn dweyd fod cryn gyffro, ac ofnau mawr drwy brif ddinasoedd y taleithiau dwyreiniol, oherwydd ymddangosiad rhyw glefyd a enwant yn Bla y Llongau yn eu plith. Dywedir ei fod yn angeuol iawn yn Caerefrog Newydd, ac yn lladd rhai yn feunyddiol, nid o'r ymfudwyr yn unig, ond hefyd o rai ereill a'i cawsant oddiwrthynt hwy. Mae cannoedd lawer yn y clafdai, ac yn un man bu farw chwech o hono mewn yspaid dwy awr. Hysbysa bob llong braidd a diria o Ewrop gydag ymfudwyr am o hanner cant i driugain, neu driugain a deg, o farwolaethau o hono ar y fordaith. Yn Boston, rhwystrodd y llywodraeth rai llongau i landio eu hymfudwyr o'i herwydd, ac yn eu clafdai mae rhai yn marw o hono yn feunyddiol. Mae yn gwneyd galanasdra mawr yn Baltimore, ac yn Quebec a Montreal mae y clafdai yn orlawn. Mae o 40 i 70 yn marw ar bob llong a ddaw i mewn. Mae 224 o gleifion ar fwrdd pedair o longau, yn yr afon ar gyfer Montreal, a mwy neu lai yn marw bob awr. Dywedir fod y pla hwn mor farwol â'r Cholera, ac anaml y byddant byw dros ychydig o oriau.

---

## CYMMANFA MORGANWG.

Cynnaliwyd y Gymmanfa hon yn Merthyr, dydd Sul, Gorph. 11eg. Cynrychiolwyd 27 o ganghenau perthynol i'r gynnadledd hon, yn

cynnwys 124 o bregethwyr, 70 o athrawon a diaconiaid, a'r cyfan o'r aelodau oeddynt 1153. Yr oedd 142 wedi cael eu bedydd o'yn ystod y ddau fis a hanner diweddaf. Sefydlwyd pedair o ganghenau newyddion, a galwyd tua phymtheg i'r weinidogaeth. Yr oedd y cyfarfodydd yn drefnus, y dyrfa o wrandawwyr yn lliosog iawn, a rhoddwyd llawer o gynghorion llesol, ac o ddysgeidiaeth adeiladol i'r Saint drwy'r dydd, yr hyn a dystid drwy'r sirioldeb mawr a'r gwrandawiad astud a boneddigaidd drwy y cyfan.

Dydd Llun, am ddeg, cynnaliwyd cyfarfod i'r Saint, ac yn neillduol i'r swyddogion. A hanner awr wedi dau o'r gloch yr oedd y byrddau wedi eu hulio â'r llestri gwychaf, a'u gorlwytho â'r seigiau a ddarparwyd gogyfer â gwledd y Gymdeithas Genadol. Ac o hyny hyd wyth o'r gloch gwleddodd dros fil o bobl. Ni chlywsom fod cymmaint ag un ymddygiad anfoneddigaidd, nac un ymddangosiad angharia‹us drwy yr holl dyrfa drefnus hon; ond yr oedd pawb a welsom â'u gwen ar eu gruddiau, yn arddangosiadol o lawenydd eu calonau drwy'r cyfamser. Yr oedd mwy o ymborth wedi ei drefnu nag a ddefnyddiwyd, fel y cafodd pawb eu gwala, ac y gwerthwyd y gweddill am yn agos i ddwy bunt. Ar ol darfod y wledd, anerchwyd y dyrfa serchus gan y Llywydd Jones, yr henuriaid Henshaw, A. Evans, a Mitchell, yn ddyddorol a gwresog iawn.

Darllenodd yr ysgrifenydd gyfrifon y Gymdeithas Genadol, sef ei derbyniadau a'i thaliadau, pa faint a dderbyniwyd y wledd hon, ei chostau, ac hefyd pa faint o arian sydd yn llaw y trysorydd yn bresennol. Yr oedd yn dda genym ddeall fod yr holl docynau a'r taliadau, a'r cyfrifon i gyd yn cyduno yn foddhaol i bawb. Ar ddiwedd y wledd, talwyd diolchgarwch y Saint i'w cyfeillion hynaws a charedig o'r byd, ac oddiwrth enwadau ereill, am eu sirioldeb, eu cwmni, a'u cynnorthwy yn y gwaith daionus hwn. Ac wedi canu mawl, gollyngodd y llywydd y dyrfa ymaith dan fendith a nodded y Duw grasol; a diau ddarfod i'r cynnulliad hwn fod yn llesiol i ladd llawer o'r rhagfarn oedd yn mynwesau y gwrandawwyr, i argyhoeddi llawer, a'u dwyn i gredu yr efengyl, heblaw i adeiladu y Saint yn y santeiddiaf ffydd. Yr Arglwydd grasol a brysuro y dedwydd ddydd pan y gall holl genedl y Cymry gyduno i garu eu gilydd, a chydweled mor ddieithriad, a chydgyrchu at yr un nôd dwyfol yn Nghrist Iesu, yw'n taer weddi dros ein holl gydgenedl anwyl. Amen.

Dydd Mawrth, cyfarfu y pwyllgor i gyfranu yr hyn oedd ar law at anghenrheidiau y pregethwyr hyny a aethent i'r Gogledd, ac i Sir Benfro, a manau ereill, er eu cynorthwyo i barhau i bregethu drwy y gweddill o'r tymmor hwn. Deallwyd fod rhai o honynt wedi bod yn dyoddef eisieu mawr. Gobeithiwn yr ymdrecha y Saint yn eu cyrddau misol i gyfranu gogyfer â'r brodyr hyn ag sydd yn rhoddi eu holl amser yn ngwinllan Crist, heb na chod nac ysgrepan i'r daith, canys y maent yn nghanol cenedlaeth wargaled a defosiynol iawn; ie, mor dduwiol nes yr ystyriant ei fod yn bechod yn erbyn Duw i roddi pryd o fwyd, na noswaith o lety, i'w weision! O, y fath siomedigaeth a gaiff y trueiniaid hudoledig hyny pan y byddont oll wedi myned i'w lletyau eu hunain!

## MEXICO.

Mae y Mexicaniaid, ar ol i'w byddinoedd cedyrn fethu a sefyll yn ngwyneb byddinoedd dewrach y Taleithiau, pa rai a'u gyrasant ar ffo gyda cholled o amryw filoedd o fywydau, mewn tua 18 o frwydrau yn olynol, wedi cyfnewid eu dull o ryfela. Yn lle dwyn eu milwyr wyneb yn wyneb, a'u gorfodi i ladd eu cyd-ddynion felly, gwelir fod y Llywydd Antonio Canales wedi cyhoeddi ei anerchiad at yr holl Fexicaniaid, yn gorchymyn i bob un, boneddig a gwreng, hen ac ieuanc, yn y trefydd a'r wlad, ag sydd yn alluog i sefyll dan arfau, i ymgrynhoi yn fân finteioedd, a dewis eu blaenor, ac ymosod ar, a llwyr ddyfetha pob Americaniad, arfog neu beidio, yn ddiarbed; ac hefyd, am iddynt yspïo pob adeg i ruthro ar, a lladd y rhai a gaffent ar wahan oddiwrth y fyddin Americanaidd, yn chwilio y ffyrdd, ceisio lluniaeth, &c. Gorchymyna fod pob un a'r nad ufyddhâai i'r galwad hwn cyn pen yr wyth niwrnod i gael ei ystyried yn fradwr i'r llywodraeth, i gael ei ladd yn ddiholiad, a bod ei holl feddiannau i fod yn eiddo i'r lleill. Mae y llywydd o ddifrif, meddylid, am ddyfetha bywydau. Ni ddichon y ffordd yna ateb y dyben a ddymuna, oherwydd bydd yr Americaniaid yn edrych allan am danynt, ac yn cadw gyda'u gilydd; a lle y llwyddant i ladd y rhai o'r Americaniaid a wladychasant yno o'r blaen, tynant ddialedd triphlyg y fyddin am eu penau. Yr oedd y dull blaenorol o ryfela yn ddigon gwaedlyd gallesid dysgwyl, pan yr oedd miloedd o bob tu yn cael eu lladd, ond y mae y dull hwn yn fwy cigyddlyd etto. Yr esgusawd a gynnygia y Mexicaniaid dros ddechreu y rhyfel "*Guerilla*" hwn yw, fod yr Americaniaid wedi gwneyd rhyw annhegwch â hwythau, ac wedi lladd rhyw nifer yn ddibrofedigaeth. Cyhoeddir llawer o chwedlau drwy y newyddiaduron Mexicanaidd yn erbyn yr Americaniaid, er creu cenfigen i'w herbyn; ac ni allant hwythau ddysgwyl llai, canys hen dric Americanaidd yw hwna. Hwy a ddysgasant y byd i droi ffrwd poblogrwydd yn erbyn eu gelynion trwy ddylanwad y wasg, pan fethent bob ffordd arall. Dyma fel y gwnaeth y wasg Americanaidd â'r Saint am yn agos i ugain mlynedd, nes llwyddo drwy eu chwedlau disail i gael gan yr holl fyd feddwl yn ddrwg am danynt; ac ai rhyfedd fod y Mexicaniaid yn talu iddynt yn ol y mesur ag y mesurasant i ereill.

Mae y Cadfridog Scott wedi cyhoeddi anerchiad at y Mexicaniaid, yn yr hwn yr amddiffyna gymmeriad ei fyddin, ac y gwada y cyhuddiadau a gyhoeddir i'w herbyn, y cyhudda fonedd a swyddogion Mexico o ormes ac annhegwch mawr at eu deiliaid. Hysbysa ei fod ef ar ei ffordd o Jalapa i Puebla, tref fawr iawn yn Mexico, ac oddiyno i brifddinas Mexico. Annoga rhai o fawrion y wlad fod i'r ddinas gael ei llosgi yn hytrach nag i'r gelynion gael ei meddiannu, ond dysgwylir am ychwaneg o newyddion pwysig ar fyr.

---

## TREFNIADAU PREGETHWYR.

Yn ychwanegol at y rhai oeddynt yno o'r blaen, aeth, neu y mae y personau a ganlyn ar fyned i'r manau canlynol:—

*Sir Fon.*—Robert Evans, William Davies, a Chason Thomas.

*Sir Gaernarfon*—Eliezer Edwards, a Lewis Jones.

*Sir Ddinbych, a Sir Feirionydd.*—Abel Evans.

*Sir Ffiint.*—John Jones.

*Sir Aberteifi.*—Mae amryw ar fedr myned yn fuan.

*Sir Gaerfyrddin.*—Benjamin Jones, Howel Williams, John Roberts, Morgan Richards, a John Floyd.

*Sir Benfro.*—E. C. Mitchell, J. Morris, John Davies, a John Price.
*Cwmamman.*—John Griffiths a James Phillips.
*Cyfyng.*– David Isaac Jones, a Daniel Williams.

Da genym ddeall fod amryw frodyr ereill yn trefnu eu hamgylchiadau yn ddarpariadol i fyned allan i rybuddio eu cydgenedl, ac i'w gwahodd i mewn i deyrnas Dduw. Frodyr anwyl, byddwch ddiwyd, gan brynu yr amser, oblegid y dyddiau sydd ddrwg. Yn awr yw y cynauaf, a gobeithiwn nad yn hogi eu crymanau y ceir neb, yn enwedig ein brodyr hyny nad oes gofalon bydol na theuluol ar eu ffordd. Mae galwadau aml a thaerion arnom o lawer o fanau lle nad oes pregethu wedi bod, yn y gwahanol siroedd, am bregethwyr i bregethu iddynt air y bywyd: ac, O frodyr, y rhai a allwch fyned, na adewch iddynt alw yn ofer; ond anfonwch eich enwau i ni, a hysbyswn chwi am y cyfryw fanau. Yr Arglwydd a lwyddo ac a fendithio y neb a ufyddhao i'r galwad! Hwd.

---

## CAPT. JONES AR FORMONIAETH, YN 1846,

YN CYNNWYS

Y Gyfrol gyntaf o *Prophwyd y Jubili;* yr *Hen Grefydd Newydd;* yr *Atebydd;* y *Glorian*; yr *Amddiffyniad;* a'r *Milflwyddiant;* ac *Anerchiad y Deuddeg Apostol;* wedi eu rhwymo yn un gyfrol hardd, 12plyg. Pris Tri Swllt.

Gwell sicrhau copi yn fuan, gan nad ellir cael un o'r rhai uchod ond yn y Gyfrol, oddieithr Cyfrol o'r *Prophwyd*, canys y maent allan o argraff, ac nid ydym yn meddwl eu hail-argraffu yn fuan.

---

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

ARGRAFFWYD GAN J. JONES, RHYDYBONT.

# PROPHWYD Y JUBILI,

NEU

# SEREN Y SAINT.

RHIF. 15.] MEDI, 1847. [PRIS 2*g*.

## MEIBION DUW.

GELWIR meibion dynion yn feibion Duw, oherwydd yn 1. Mai Duw yw "tad yr ysbrydoedd" cyn eu dyfodiad i gyssylltiad â chnawd i'n daear ni, Heb. xii, 9. 2. Fel ei greaduriaid. 3. Meibion mabwysiadol iddo ar ol ymddyeithro oddiwrtho drwy drosedd ein rhieni cyntaf mewn rhyw ystyriaeth; ac hefyd, "pawb a bechasant ag ydynt yn ol am ogoniant Duw," wedi cyrhaedd i wybodaeth o dda a drwg. Wedi ein myned yn "ddyeithriaid ac estroniaid," trefnodd ein Tad ffordd i fabwysiadu ei feibion gwrthryfelgar yn feibion i Dduw, ac yn yr ystyr hwn gelwir yr holl saint yn blant neu "feibion i Dduw." Ymddengys fod personau o'r cymmeriad hwn ar y ddaear er yn foreu iawn, Gen. vi, 2, 4. Gelwid y patriarchiaid yn feibion i Dduw, h. y., yn feibion mabwysiadol. Gelwir Abraham, Isaac, Jacob, ac ereill, yn feibion Duw, ac ymddengys fod llawer o honynt ar y ddaear yn amser Job, pen. i, 6, "A dydd a ddaeth i feibion Duw sefyll gerbron yr Arglwydd; a Satan hefyd a ddaeth yn eu plith hwynt." Yr ysgrythyrau canlynol a ddengys ammodau y mabwysiad, neu y drefn hòno sydd gan Dduw i fabwysiadu meibion, sef yr efengyl. Gan na ddichon neb fod yn yr ystyr hwn yn feibion i Dduw heb faddeuant pechodau, a derbyn Ysbryd y mabwysiad, drwy yr hwn y maent yn llefain, Abba, Dad, gwelir fod yr un efengyl yn ei hordinhadau i'r un dybenion yn feddiannol gan y cyntaf un yn gystal a'r oll, hyd y diweddaf a fabwysiedir yn fab i Dduw; ac hefyd, fod "bara y plant" neu y doniau ysbrydol, a chymdeithas uniongyrchol â'u Tad, yn addewid i'r oll yn gystal ag i neb o'i feibion yn unrhyw oes; canys nid yw efe dderbyniwr wyneb.

## Y "PARCH. W. R. DAVIES, O DDOWLAIS," A'I ERLIDIGAETH GREULON A CHYWILYDDUS ETTO!—ETTO!!

*(Parhad o tudal. 123 o Brophwyd Awst.)*

Pa gyhuddiad mwy maleisus a ddichon un dyn drwg gyhoeddi drosodd a thrachefn yn hollol ddisail, nac mai "*hen Chartists gwaedlyd*" ydym? Ceisia drwy hyn gynhyrfu y wladwriaeth i'n herbyn, canys gwyr or goreu y cospau y dirmygu a'r alltudio a fu ar y rhai y dygwyd yr un cyhuddiad i'w herbyn! Diau fod boneddigion ein gwlad fel y werin wedi diflasu ar, a deall ei anwireddau, onide buasai wedi tynu eu llid arnom cyn hyn; diolchwn iddynt hwy, ond nid iddo ef, fod genym fywyd a rhyddid i addoli Duw, a byw yn mhlith beddau ein tadau. Ysgrifenwyd llythyrau at foneddigion y wlad yn sicrhau mai "*Chartists*" yw y Saint, gan geisio ganddynt ddial arnynt! Nid y'm yn sicrhau mai efe a'u hysgrifenodd, ond hyn a ddywedwn, sef nad ystyriwn fod y dyn a feiddia gyhoeddi hyn yn *Bedyddiwr*, y *Seren Gomer*, ei Draethawd, a'i Gatecism, a thrwy bwlpudau y wlad, un gronyn rhy dda i ysgrifenu hyny at, hyd y nod ei Mhawrhydi ei hun, pe gallai; ac nad llawer rhy dda a fyddai yr hwn a wna y naill beth i wneyd peth gwaeth fyth i geisio ei brofi hefyd! Nid ydym ni yn ymyraeth dim a Chartiaeth, nac a dim pethau gwladwriaethol, neu boliticaidd, ond yr efengyl dragwyddol fel ei gwelir yn yr ysgrythyrau santaidd, yw ein cyffes a'n credo, a phaham na chawn lonydd bellach gan ein herlidwyr creulon? Etto, cyhoeddwn yn eofn, a heriwn arholiad teg, a deued ein cyhuddwr, ïe bawb a'u gwrthbrofion yn mlaen,—

### NID YW Y SAINT YN "CHARTISTS."

Yr oll sydd a wnelom ni a chyfreithiau, ac â sefydliadau ein llywodraeth ydyw talu ufudd dod cyflawn i bob un, a phob parch i'w gweinyddwr, fel y gorchymyna yr ysgrythyr i ni a phawb arall wneyd, "Gan fod a'ch ymarweddiad yn onest yn mysg y cenedloedd (y sectariaid) fel lle y maent yn eich goganu megys drwg weithredwyr, (gan eich galw yn "hen Chartists gwaedlyd") oherwydd eich gweithredoedd da a welant, ogoneddu Duw yn nydd yr ymweliad. Ymddarostyngwch megys hyn i bob dynol ordinhad, oherwydd yr Arglwydd, pa un bynag a'i i'r Breuin megys goruchaf, a'i i'r llywiawdwyr ganddo ef wedi eu danfon, canys felly y mae ewyllys Duw fod i chwi trwy wneuthur daioni ostegu anwybodaeth dynion ffolion," megys Mr. Davies, o Dowlais. Ceisio cuddio ei warth ei hun, y mae efe wrth ddwyn y cyhuddiad hwn hefyd i'n herbyn, fel y gwelir wrth a ganlyna:—Ychydig ddyddiau yn ol am y tro cyntaf erioed yn y wlad, rhoddwyd cyhoeddiad y Chartists yn fy llaw, ar peth cyntaf braidd a dynodd fy sylw oedd gohebiaeth rhyw un cecrus iawn yn llanw amryw golofnau, yn milwrio a'i holl egni yn erbyn un o'r sefydliadau gwladol penaf o gwbl, sef yr eglwys; a'r syndod oedd gweled enw cyflawn ein cyhuddwr odditano yn awdwr iddo!! Braidd y credwn fy llygaid y fod dyn i'w gael a fu yn ohebydd gwresog i *Udgorn Chartiaeth*, mor ddigwilydd a chyhuddo y dieuog o fod yn "Chartists gwaedlyd;" ond pan gofiais mai "W. R. Davies, Dowlais," oedd y gwr, diflanodd y syndod

yn y fan, canys ei *habit* ef yw hyny! Plaenach etto, darllenai tua'r diwedd eiriau fel hyn,—"Llwyddiant i chwi (ebe Mr. Davies wrth y Chartiaid, sylwer!) a'ch cyhoeddiad (sef i gyhoeddi Chartiaeth!!) yw DYMYNIAD CALON (ein cyhuddwr!!!) eich ewyllysiwr da.

*Dowlais, Merthyr.* W. R. DAVIES.

Ie ddarllenydd, yr un W. R. Davies ac oedd yn gymmaint a hyna o *Chartist* o "*galon*" pryd yna, sydd yn ymrithio fel angel y goleuni, yn awr i gyhuddo ereill o fod yn *Chartists*, pan na wybuant rai o honynt fod y fath beth a Chartiaeth wedi cael bodolaeth, hyd nes yr oedd wedi marw a'i chladdu! Un o wyrthiau Davies ei hun yw hyn pan oedd yn *Chartist* o galon! Deuwch yn mlaen, Syr, a gwelwch pwy yw y "*Chartist*," nid oedd gywilydd genych chwi ardystio eich llaw ar gyhoedd y byd eich bod yn *ewyllysiwr da o galon* i Chartiaeth!! Os gwadwch hyn, profwn ef mewn du a gwyn; ydyw, y mae ar glawr genyf yn ofalus iawn hefyd, daw o ddefnydd etto ond odid. Os amheua rhyw un pa un a yw hyn yn bosibl, darllened yn Rhif. 9, Cyf. 1, o *Udgorn Cymru*, ac yna dyweded wrth ein cyhuddwr, "*Ti yw y gwr.*" "Y meddyg iacha dy hun," etto rhag cywilydd.

Etto, ebe efe, "gellid meddwl wrth ddarllen y llyfr melldithiol hwnw a elwir "*Seren y Saint*," eu bod yn lluosog." Mor hyfryd y swnia y pethau y teitlau hyn drwy capeli gwychion pan ateber yn un llais gan yr ysgolheigion! Ac O, fel y chwardda yntau yn ei lawes gan ymloni yn y fath ddial! Yn nesaf am y gwrthbrofion a ddug i brofi y llyfr hwnw yn fellditbiol a chelwyddog, beth y'nt? O'r yr un prawf ac a ddug i bob haeriad arall, h.y., dim prawf yn y byd; nac esgus o brawf! Dim ond gwaeddi dau air bach o chwech llythyren! Dyma'r oll a gynnygia i brofi cannoedd o'i gyd-ddynion yn gelwyddog, sef bloeddio, "NAC YNT." Rhaid ei fod yn ddwlach na phlant yr ysgol os dysgwylia iddynt lyncu ei *ibse dixit* ef am wir yn ddibrawf, neu efallai yr ystyra ei hun yn rhyw fath o fod anffaeledig, fel nad ddysgwylir iddo ymddarostwng i geisio profi dim a ddywed er fod pob cyhuddiad mor llawn o wenwyn i gymmeriadau dynion gwell nac ef, ac yw gwefusau yr asp a'r wiber o wenwyn. Ac etto, pe na baem luosog, nid yw hyny yn un prawf i'n herbyn, h.y. yn ol rheol ddeongliadol Mr. Davies ei hun, yr hon a welir yn ngholofnau Chartiaeth fyth fel y canlyn:—"Sylwch, mai nid llu na gwladwriaeth sydd yn *cyfreithloni* unrhyw sefydliad, ond cyfiawnder a thuedd yr egwyddor er llesoli y deiliaid." *Wel done!* Ac felly gwyr well na'n condemnio ni os nad ym yn lliosog ynte. Teg yw dwyn ei dafol ei hun i'w bwyso ynddi, onide? Etto, dywedai pan yn *Chartist* o galon, "Dim ond tri a gafwyd ar wastadedd Durah nad ymgrymasant i'r grefydd wladol." "Ni buasai y tri llanc, Elias ac ereill, ond gwawd, mae'n debyg, gan Sir R. Inglis a'i frawd Mr. Rhagfarn," ebe efe. Felly nid yw y Saint ond gwawd gan y *Sir* W. R. Davies hwn, oherwydd iddo ef waeddi "*Nac y'nt*" ddim yn lliosog! Beth meddech am hyn, Syr? Onid ydych yn efelychu y rhai a gondemniech? Etto, terfyna y ddadl drwy *statistics* têg am ein lliosogiad ni a'n cyhuddwr. Bid siwr y boddlonwch ar yr hyn a ddywed eich *llythyr cymmanfa* eich hun, Syr! Wel, dywed hwnw yn tudal. 7, mai 87 yw yr ychwanegiad at eich Cymmanfa Morganwg chwi yn y flwyddyn ddi-

weddaf. Addefant hefyd, "Ychwanegiad y flwyddyn hon sydd wedi ei achosi yn *benaf* trwy symudiadau o siroedd ereill." Nid drwy fedydd. Cymharer hyn â llythyr Cymmanfa Morganwg y Saint, a gwelir eu bod wedi eu bedyddio yn y flwyddyn ddiweddaf 295!! heb gyfrif y "symudiadau." Dyma yn agos bedair gwaith cymmaint o liosogiad a phlaid y gwr sy'n gwaeddi "*Nac y'nt.*" "Ac yn eu plith nid oes un dyn *cyfrifol,*" ebe efe. Beth! dim un! Syr. Ofer dysgwyl denu digon o arian oddiarnynt i brynu llongau, a "byw yn segur" yn hir, gan nad oes "un *cyfrifol*" yn eu plith, canys cyfrifol ac arianog sydd gyfystyr genych chwi, debygwn! Onid yw y rhai o'ch hen aelodau ffyddlon chwi a ddaethant at y Saint yn "*gyfrifol?*" Beth yw cyfrifoldeb? A'i dringo i bwlpudau i waeddi "Sataniaid," a hen *Chartists gwaedlyd*, &c. ar ei gymydogion, sy'n gwneyd dyn yn gyfrifol ynte? a'i drwy gyhoeddi pob camgyhuddiadau, a chwedlau celwyddog a drwg ar grefyddwyr yr ennillir cyfrifoldeb, yn ol eich *Dictionary* chwi? Os felly, chwychwi yw'r mwyaf cyfrifol a adwaenom, a mawr fydd eich cyfrifoldeb yn y dydd a ddaw!

Druain o'r Seintiau! Dim un dyn na benyw cyfrifol o blith cynnifer o gannoedd o rai a fu yn aelodau parchus, yn ddiaconiaid selog, ac yn bregethwyr doniol gydag enwadau crefyddol ereill, amrai o honynt o ddeg ar hugain i ddeugain mlynedd—dim cymmaint ac "un cyfrifol!" Y maent wedi bedyddio tua chant yn Dowlais mewn ychydig fisoedd. Mr. Davies, a fuoch chwi yn eu chwilio oll am ddyn cyfrifol? Y mae yn agos i bump cant yn awr yn un ganghen o Saint yn Merthyr, Mr. Davies; a adwaenoch chwi bob un o honynt? Os felly, paham y dywedwch "*Nac y'nt*" ddim yn lliosogi? Os nad adwaenoch *bob un;* ie, yn mhob man lle y dyry "*Seren y Saint*" eu hanes, pa fodd y sicrhewch nad oes UN *cyfrifol* yn eu plith yn rhyw fan o Gymru? Druan o Davies, mae wedi gwallgofi yr y'm yn ofni, o'r hyn lleiaf "mae ei leferydd yn ei gyhuddo." Mae genym ei eiriau ei hun i ddod i'w wyneb etto yn bert iawn. "Pan bydd Sianco yn dywedyd celwydd, mae efe yn wastad yn ei ddweyd mor oleu fel y gwyr pawb mai celwydd yw;" gan fod *cap* hen wreigen Sir Aberteifi yn y fashiwn ac yn eich ffitio mor bert; gwisgwch ef Mr. Davies; a diolch i chwi am ddweyd eich celwyddau ar y Saint mor oleu fel y gwela pawb yn eglur mai celwyddau ynt.

Gofynwn, yn enw cyfiawnder, beth sydd i wneyd a dyn fel hwn? Yr ydym wedi treio pob ffordd a allwn ddyfeisio drwy resymau ac ysgrythyrau, i amddiffyn ein crefydd rhag y gwarth a 'geisia ddwyn arni: yr ydym wedi ei fflangellu ef a'i ffrewyllau ei hun mor dost ac mor aml nes y meddyliwn ei fod mor *galous* a dideimlad, ei wyneb mor ddigywilyddio, a'i gydwybod mor seriedig, fel mai ofer ceisio argraffu dim arno, na cheisio ei adferyd mwyach; ni chymmer ei argyhoeddi gan ffeithiau na rhesymau. Etto ni phaid a chwythu allan ei fygythion a'i gelaneddau yn erbyn y dieuog. Nid oes lonydd i'n cymmeriadau i addoli Duw! Beth ychwaneg a allwn, neu a ddysgwylir i ni wneyd erddo? Beïid ni gynt am nad amddiffynem i'w erbyn; ac wedi amddiffyn, gwrthyd ei frodyr ef eu darllen, ond ymffrostio iddynt fwy nac unwaith daflu yr amddiffyniad i'r tân cyn ei ddarllen; nid anfynych y gwneir hyn! Do, gweddiasom lawer drosto ef, hyd nes i ni gael ffeithiau digonol i brofi mai yn wybodus ac yn gyndynus y cyhoeddais y camgyhuddiadau hyll

arnom o elyniaeth at y gwirionedd! Weithian mae ein dwylaw yn lân oddiwrtho ef a'r canlyniadau o'i erlidigaeth. Mae ein cydwybodau yn dawel i'w gyflwyno o hyn allan i sylw neillduol, ac i'r breichiau tragwyddol yr ymladda i'w herbyn; amlwg ei fod wedi gweithio ei hun i'r fath amryfusedd cadarn, fel y gwell ganddo, ïe, y myna gredu celwydd a gwrthod y gwir, wedi cael cynnyg teg o'r ddau. Onid yw efe yn rhwystro pawb a allo, yn mhob dull a feiddia i chwilio i, ac i ddod o hyd i'r gwir: diau fod llawer ychwaneg o rai gonest eu calon, ac o garwyr y gwir, wedi eu dallu ganddo ef fel na feiddiant ymchwilio: y Duw trugarog a dosturio wrth y cyfryw, meddwn, a'n holl galon; ac a ddryllio y *cast iron creeds* sy'n eu llethu. Ond am dano ef rhaid ei fod, neu o leiaf cafodd ddigon o fanteision i wybod gwell; yna boddlon y'm ni bellach er mwyn y rhai a betrusant rhwng dau feddwl, a dylai ein cyhuddwr neidio yn gyntaf i'r glorian. Beth meddwch chwi, Syr? a'i parod y'ch i'r hwn sy'n gallu barnu yn gywir derfynu y ddadl rhyngom, fel y deallo pawb pa un o honom sy'n gwasanaethu Duw y nefoedd? Gwaeddasoch lawer am "*wyrth*," *gwyrth*, ac arwydd o gwr bwy gilydd, wel yn awr, Syr, cydweddiwn â chwi ar i'r hwn sy'n meddu gallu gwyrthiol eich plesio gymmaint a rhoi i chwi arwydd, fel ar amser yr ewyllysio ei hun, er hyny, cofiwch. Gresyn na chaffech rywarwydd bach bellach! Mae genym well defnydd i wneyd o'n hamser gwerthfawr nâ sylwi ar gecraeth gwyr cecrus fel hyn pe caffem lonydd ganddynt; etto, cam a'n crefydd a'n cydgenedl ac a phawb fyddai dioddef yn ddiamddiffyn fel llofruddion, neu ladron. Amser byr a derfyna y ddadl, pa un a wyddom yr hyn a ymwnawn ac ef, a'i ar antur fel ein cyhuddwyr y crefyddwn.

---

## Y "CASAWR TWYLL" YN PROFI EI HUN YN AU-BROPHWYD ETTO!!

MAE y cyhuddwr dienw hwn wedi llanw amryw golofnau o'r *Diwygiwr*, am Gorphenaf, a'i gamgyhuddiadau ffol ar y Saint: ac o'r ddau y mae yn ddwlach nac yn y rhifyn Mai, yr hyn yn ngolwg pob dyn rhesymol, debygid, a brofwyd yn y *Prophwyd* am Mai a Mehefin, islaw synwyr cyffredin. Addefa fod ei groen yn smartio yn lled arw dan y driniaeth a gafodd, yr hyn a arwydda nad yw efe wedi myned yn hollol ddideimlad; *garw* yw y gwir yn ngwyneb ambell ddyn, a phwy a gwyna iddo! Yn lle addef ei gamgyhuddiadau wedi cael rofion o honynt, a'u galw yn ol, fel y gwnaethai pob "*casawr twyll*," â efe yn y blaen yn benstiff i bentyru cruglwyth o haeriadau disail a dwl etto; heb brofi fod y Saint yn teilyngu yr un nodwedd o'r cyfan a ddywed. Cwyna yn ddolefus iawn ei fod wedi cael ei gyhoeddi yn "*dwyllwr, yn ddeist, ac anffyddiwr, &c.*, hyd nes y mae yn amlwg i weled (ebe efe) mai trwy Belsebub y maent yn bwrw allan *gythraul, os gwnant*, a thrwy hyny yn dangos mor ychydig o egwyddor Saint sydd yn cael ei ddangos." Codwn y rhan olaf o'r frawddeg anghymmalog hon i'r gwynt, a daliwn hi o flaen llygaid ein darllenwyr yn enghraifft o dwyll-resymeg, y ffolaf a ellid gael o enau baban. Pa fodd y mae eich cyhoeddi chwi yn "dwyllwr," &c., yn profi mai trwy Belsebub y bwria y Saint allan gythrau', Syr! Beth a feddyliwch? Paham rhoi yr *os* yna i mewn a chwi wedi cloi yr haeriad i fyny eisoes? Dyma ddwlni rhy wael i gael lle mewn

un cyhoeddiad parchus, debygasem. Am y rhan flaenaf o'i frawddeg yn ein cyhuddo ni o roddi yr enwau uchod arno, enghraifft o'i gamgyhuddiadau blaenorol yw, ac yn profi mai dyma ei arfau goreu y tro hwn etto i ymladd i'n herbyn. Heriwn ef i ddwyn yn mlaen y frawddeg, y tudalen, a'r geiriau a brofant ein bod ni yn ei lysenwi ef. O na, ei waith ef yw hyny. Nid rhoddi yr enwau hyny arno a wnaethom ni, ond dangos ei fod ef yn ei brofi ei hun yn gyfryw, dwyn ei ysgrif i'w wyneb a wnaethom, a thrwy resymeg deg profasom mai "ti yw y gwr" sy'n euog o'r cymmeriadau hyny. "Dy enau dy hun sydd yn dy fwrw yn euog, ac nid myfi; a'th eiriau dy hun sy'n tystiolaethu yn dy erbyn." Paham gwingo ynte? Dylasai efe beidio rhoddi y gorden am ei wddf ei hun os nad oedd am ymgrogi. Na feied ni am ei rhoddi, canys yno y cawsom hi. Gweler mor lleied "o egwyddor Saint" (na geirwiredd) sydd ynddo yn hyn. Gwrando ddarllenydd ar enghraifft arall o ynfydrwydd ein herlidiwr, a synwn pa fodd y gallodd gael lle mewn cyhoeddyn y byd! Ond diolchwyf iddo (ebe efe, sef diolcha i ni am ei ffaugellu "yn lled arw" fel y dywed), fy *unig* ddymuniad oedd ei gael i'm gwrthwynebu, ac felly druan wele di nid yn unig wedi cael dy ddymuniad fel y cafodd pawb ereill a wrthwynebant ein crefydd anwyl a chelwyddau, ond wele di yn dy grogi dy hun etto a'th eiriau fel hyn;—Yn dy ymosodiad cyntaf haeraist nad o genfigen at y Saint, nac o un dyben drwg, ond mai dy *unig* ddymuniad oedd gwaredu dy gydgenedl anwyl: yna dy *unig ddymuniad* nesaf oedd "cariad at y gwirionedd," pan y profwyd mai'th *unig ddymuniad* oedd dweyd tua dwsin o anwireddau ar dy gymydogion, a'th *unig* ddymuniad yn awr yw ychwanegu drygioni at dwyll, ac ymdrechu dweyd celwyddau digon erchyll i gyffroi teimladau dynion, a'u dwyn allan i'th wrthwynebu!! Wel, dyna fel y gwna *blaggards* pan y byddant wedi meddwi ac eisieu tynu ffrae, a dwyn ereill allan i'w gwrthwynebu, sef fel tithau, cynllunio y cyhuddiadau a'n cyffroa fwyaf. Dyma addefiad *bwli* yw hyn, druan o honot, gan mai dyma yw dy "*unig ddymuniad,*" beth a ennilli? Dim ond cywilydd a chosp. Paham y rhaid cyhoeddi yr holl anwireddau hyn am ein crefydd er ein cael i'ch gwrthwynebu, Syr? Addefwch yma hefyd, mai un o'r cyndyn ddadleuwyr llygredig eu meddwl hyny y sonia Paul am danynt ydych, heb fod y gwirionedd ganddynt, ac annoga ni i gilio oddiwrth y cyfryw, ac addefwn pe meddyliasem na buasai gan y "casawr twyll" hyn well rheswm nac egwyddor na'r hyn a ymddangosodd hyd yn hyn, gadawsem ef i ymladd a'i fwganod gwneyd ei hun. Dyben annheilwng iawn o'r fath orchestwaith, onide? Paham na chydiasech mewn rhyw egwyddor a ysgrifenasom arni, druan, a ninnau yn cyhoeddi cymmaint o egwyddorion mor barhaus, ac mor groes i'ch traddodiadau, a gadael cymmeriadau dynion yn llonydd? Dyna fuasai y ffordd hertia o lawer i ddyn mor sêlog â chwi i ddynoethi twyll, yn lle gwaeddi *twyll, twyll, twyllwyr* o hyd nerth eich pen, a bygwth ei ddangos, a dim ond bygwth, ac yna ymollwng i nwydau i gamgyhuddo, a byth brofi un haeriad yn wir, yr ydych yn efelychu y bugail ffol hwnw oedd yn gwaeddi "bleiddiaid, bleiddiaid" er dychryn y bobl, pan nad oedd bleiddiaid yn agos, ac yna chwarddai yn ei lawes, ond daeth dydd tâl iddo ef cyn hir, fel y daw i chwithau onid edifarhewch am eich rhagrith a'ch drygioni. Pwy ydych chwi,

druan bach, a waeddwch "*twyll yw Mormoniaeth,*" ac a ddysgwyliwch i bawb gredu eich ffregod heb un prawf, ac yna beiwch arnynt os na chanlynant eich cwt chwi i waeddi fel chwithau; nid yw dynion rhesymol ond eich barnu yn ol y dirmyg a roddwch arnoch eich hun; oni all pawb ereill farnu ein crefydd pan ei clywant druan, cystal ag y gallech chwithau? Mae eich dwlni yn drewi yn ffroenau darllenwyr y *Diwygiwr* yn ol a glywwn ni. Clywch y bygwthiwr tost etto; "Caiff ef [sef y ni bach?] a'i grefydd eu dangos yn eu lliw priodol cyn pen hir." Hawyr bach! beth a ddaw o honom y pryd hyny! bydd yn ddiwedd byd neu waeth arnom, debyga; tebyg mai gwell i ni *settlo* ein *accounts* a gwneyd ein hun yn barod i *exit*, gan fod y Golia mawr hwn yn gwisgo ei arfau, ac yn rhoi o'i flaen fel hyn!! "cyn pen hir," aie, Syr? dim ond amser byr i ni na'n crefydd i fyw, debygid. Druan o honoch, coffawch ni am yr hen air, "*barking dogs seldom bite.*" Yr ydych wedi hir fygwth i gyhoeddi ein twyll; ac yn udganu o hyd eich bod am ddatguddio rhywbeth echryslon iawn. Ac hyd yn hyn yr ydych wedi ein siomi yn gwbl. Ie, wedi cael benthyg y *Diwygiwr* faint a fynech; gwnaeth ef ei ran i chwi gyflawni eich addewid, a diau fod aml un wedi bod yn dysgwyl i chwi amlygu rhyw beth drwg bellach yn erbyn y bobl a fygythiwch mor llym, ac a erlidiwch mor greulon, ond hyd yma dim un prawf o un twyll na chyfeiliornad y Saint, na ddo ddim un! Ac ni all ychwaith, onide gwelir y buasai yn felys ganddo wneyd hyny. *Poor fellow*, chwychwi eisiau ein cael i'ch gwrthwynebu, aïe, i ddim ond i fygwth ac i'n camgyhuddo. Nid rhyfedd i chwi wrthod amlygu eich enw fel y gwna pob twyllwr neu enllibwr. O ddyn drwg, yn ymguddio yn ei dwll du fel y cadno, gan rincian ei ddannedd oddiyno ar y rhai a elant heibio; a'i tegwch hyn? Rhowch eich enw i'r byd, fel y deallant pwy a deilynga y fflangell, a phwy yw ein cyhuddwyr. Nid oes arnom ni byth gywilydd arddel ein henw yn gyhoeddus dan yr hyn a gyhoeddwn o blaid y gwir, fel y cywilyddiwch chwi arddel eich anwiredd dwl! Haerasoch yn y rhifyn blaenorol eich bod wedi bod gyda y Saint, yr hyn a amheuid yn fawr, os nad y Thomas Jones hwnw a fu mewn un cwrdd yn unig ydych, ac a ymunodd a phlaid arall er mwyn cael cyflog uwch gan ei feistr. Os nad hwnw ydych, yr ydych wedi eich dal yn anwireddus yn eich haeriad cyntaf eich bod wedi bod gyda'r Saint. Os hwnw ydych, yr ydych wedi eich dal yn anwireddus o flaen tystion yn gwadu yr enw, ac y mae y llythyr drachefn a ysgrifenwyd at bobl yn y Coedduon, ar glawr, a'ch condemnia yn anwireddus pa ffordd bynag, neu pwy bynag ydych. Ac mae eich geirwiredd wedi ei fforffetio yn llwyr; a'i i'r dyben o wneyd hyn y cuddiasoch eich enw, Syr? O gywilydd i'r dyn a gamgyhudda ei gymydogion oherwydd eu crefydd, ac a'u gwna dan fantell y ddinas, a'i enw yn nghudd! Enghraifft arall o ddwlni ein herlidiwr, yw y "ddiareb" a ddyfyna, sef, "Pan wna lladron gwympo allan a'u gilydd, caiff gwr gonest hanes ei ddâ." Awgrymwch mai lleidr da ydych chwi, ïe, addefwch hyny wrth addef eich hun yn un o'r pleidiau sy'n "cwyno allan!" Am danom ni gwadwn addasrwydd y gymariaeth yn hollol i ni, ac nid y ni ond y chwi sy'n eich cyhuddo eich hun o ladrata dâ dyn gonest, pa le y maent? Gobeithio y dywedwch i'w perchenog, fel y caffo hwynt! A'i dyma'r fath

ddyn sy'n gwaeddi twyll am grefydd ei gymydogion! Ac wedi dweyd gyneu mai ei UNIG *ddymuniad* yn ei holl ymosodiadau ar y Saint oedd ein cael i'w wrthwynebu. Yna ar ol y cwbl a brofasom mai carwr a chyhoeddwr twyll yw efe; wedi dangos ddarfod iddo brofi ei hun yn *ddeist*, yn au-brophwyd, ac yn euog o tua dwsin o anwireddau gwybodus, ac wedi i ni wneyd hyn oll yn deg ac anattebadwy iddo ef, yn lle addef ei feiau, fel y gwnaethai dyn gonest, yn awr rheda i'w dwll, gan waeddi, "Ond gan fod ei gecraeth [nage, rhesymau teg ac anwrthwynebol, ac ysgrythyrau na allwch syflyd un o honynt, Syr] islaw sylw [aie? islaw sylw ar ol i chwi gael eich unig ddymuniad, aie? hawdd i bob crwtyn ar hyd yr heolydd waeddi hyn pan na allo roddi esgus arall] ni wnaf flino y darllenydd y tro hwn trwy wneuthur un nodiadau arnynt," ebe yr ymosodwr hwn, ïe, hyd y nod wedi cael ei "unig ddymuniad!" Dim gair i roi yn ol! Dim un rheswn yn ngweddill drosoch eich hun! Dim yn werth genych geisio golchi yr ystaeniadau brwnt a ddwbiasoch ar eich cymmeriad o'r blaen! na dim un ymdrech, tybied? Ow, mae hi yn dlawd iawn arno, druan, pan addefa nad all wneuthur yr un ymdrech bach yn erbyn yr holl ffangellu a fu arno, ac yntau yn addef ei fod yn ARW. Pa le y mae ei bartneriaid cu yn awr? helpiant ef i glirio ei gymmeriad rywfaint, druan, gan mai efe yw yr ymosodwr: yr ydym ni yn y maes, a'n gwisg ryfel am danom ar hyd yr amser yn amddiffyn rhag saethau yr holl gamgyhuddwyr, a'r enllibwyr, a'r gwrthgilwyr, a'r bradwyr, y rhai a'n gwnant ni yn nôd i'w saethau brwyn, ac o hyd mae ein cawell yn llawn o saethau y gwirionedd, er i gawelli ein herlidwyr, o un i un, fyned yn wag; a'r gawell wagaf o'r cwbl, debygid, yw yr olaf hon, sydd heb gymmaint ag un saeth i daflu yn ol; etto, nid oes ynddo ddigon o ddynoliaeth i addef hyny, ond deil i haeru yn olaf yr hyn a ddywedodd gyntaf. "Islaw eich sylw," aiê? Tebyg i hyn yr oedd y corgi bach hwnw a gyfarthai at y lleuad nes iddo gracio ei lais, ac yn troes ymaith â'i gynffon fach yn siglo mewn ymffrost, gan awgrymu nad oedd y lleuad yn deilwng o'i sylw mwyach! Druan o hono! pa wahaniaeth pa un a gyfarthai hwnw na hwn ychwaneg, na phwy a geisiodd ganddynt, a pha les yw cyfarthiad yr olaf mwy na'r blaenaf? Y modd y ceisia y dyn hwn brofi y Saint yn dwyliwyr, ac yn au-brophwydi yw. trwy ddyfynu rhestr o ysgrythyrau o'r hen destament a'r newydd, a haeru yn hollol ddibrawf mai at y Saint y cyfeiriant, pan, mewn gwirionedd, y mae wedi lladrata y rhai hyny, ynghyd â'r sylwadau arnynt, bron gair yn ngair o'r traethawd bychan a elwir "*Gau-brophwydi*," yn yr hwn y profasom y Saint yn ngwyneb y cyfan yn hollol ddieuog; ac nid oes un o'r nodweddau a ddyry yr ysgrythyr yn ffrwythau gau-brophwydi, na gau athrawon, i'w cael yn mhlith y Saint wedi arholiad teg; a chan i ni brofi ein cyhuddwr yn euog o honynt yn eglur, bob yn un ac un, ceisia yntau eu troi yn ol drwy eu haeru heb un prawf. Rhesymeg y Gwyddel yw hon,—"Dywedir fod lleidr yn y dref, a rhaid mai chwi yw hwnw," ebe efe wrth y cyntaf a gwrddai ar yr heol. Am y dyn duwiol a alwch chwi (ddifenwr) yn "*monster twyllodrus* hwnw, sef Joseph Smith," ni wyddoch ddim am dano ond ystorïau celwyddog ei elynion, ac ni allwch chwi brofi i ni fod un o nodweddau *monster*, na dyn drwg, yn perthynu i'w gymmeriad, canys adwaenem ef yn well na hyny yn bersonol am flynyddau, ac

yna yr ydym yn dyst o'r hyn a wyddom am dano, yr hyn na allwch chwi fod; a thystiwn hefyd mai dyn da a duwiol ydoedd, serch i chwi a'ch cyffelyb, ddifenwyr cableddus, geisio ei gamgyhuddo fel y gwnewch â phawb duwiolach na chwi, braidd. Am y brophwydoliaeth a ddyfynwch o Jeremia, nid atom ni y cyfeiria, ond at ein cyhuddwr. Y prophwyd mawr, gofynwn i chwi, Pa bryd y gwelsoch 301 000 o ddynion rhesymol "*yn cyd-dystiolaethu celwydd, ac yn cyd-ymdrechu i dwyllo ! !*" O ddyn ! ai chwychwi eich hun, ar eich haeriad disail yn unig, a feiddiwch gondemnio crefydd cynnifer, yn ngwyneb dros dri chan mil o wrth-dystion ! Profwch eich ffolineb, cyn ceisio gan neb eich credu chwi yn hytrach na'r cyfan.

Pa bryd y cyflawnir eich prophwydoliaethau cyhuddiadol a ganlyn ? "A phan ddelont yn ddigon lliosog, yna bydd eu ffrwythau yn profi." Aroswch nes i'r amser hyny ddod i ben, ynte, neu peidiwch a gwadu Ysbryd y brophwydoliaeth. Pa brophwyd fel chwychwi am brophwydo drygioni ac enllib ? "A phan ddel y *Shareholders of the Joint Stock Company* yn ddigon lliosog, yna fe geir gweled egwyddor Mormoniaeth," meddwch. O, y fath awydd a ddangoswch i dduo y grefydd hon ! Dan ba ysbryd y prophwydasoch hyn, Syr ? Dywed y gair mai "dyn drwg o drysor drwg y galon a ddug allan bethau drwg," am ereill. Ceir, fe geir gweled egwyddorion daionus Mormoniaeth, pan y byddwch chwi a'i holl wawdwyr wedi myned i ebargofiant. Am y "*Joint Stock Company*," nid oes, ac ni fu, un cyssylltiad rhyngddi â Mormoniaeth ; ac os na wyddech hyn, dylasech ei wybod cyn cyhoeddi eich dwlni i'r byd. Cymdeithas farsiandiol oedd y gyntaf yn unig, yr hon oedd wedi ei sefydlu yn unol â chyfreithiau Prydain, ac wedi ei *registro yn y Chancery* yn rheolaidd, fel cymdeithasau cyfreithlon ereill; a phe buasai mewn cyssylltiad â'n crefydd, a'i tybied yr amddiffynasai y llywodraeth hi pan nad yw ein crefydd mewn cyssylltiad â'r llywodraeth ? O na, dangos eich awydd i dduo ein crefydd yr ydych wrth hyn etto, ond yn methu. Y mae Mormoniaeth uwchlaw eich sawyr afiach i'w dirmygu. Eich rhagrith digywilydd sydd yn peri i chwi gymmeryd arnoch dosturio cymmaint wrth y "Cymry anwyl," fel eu gelwch.

Cariad at y gwirionedd, ac at eich enaid anfarwol chwithau, a'n cymhella i dystio yn eofn eich bod drwy hyn yn "carlamu tua gwlad y gwae !" Ac am y gweddill o'ch rhagrith twyllodrus, tystiolaethed yn eich herbyn er eich cywilydd.

---

## AT YR HWN A EILW EI HUN YN "YMDEITHYDD, NANT-Y-GLO, NEU WILLIAM WILLIAMS."

SYR,—Mewn traethawd bychan o'ch eiddo, cyhuddwch *Brophwyd y Jubili* o gynnwys ysgrif, yn yr hon yr oedd y "celwyddau mwyaf haerllug a digywilydd ag a allasai dyn yn hawdd eu dychymmygu." Ein parch i'r cyhoeddiad hwnw, ynghyd â'n hawydd mawr i bawb gael y gwir, a'n cymhella i alw am brofion o'r cyhuddiad trwm yna. Ystyriwn o'r ddau tu y teilyngwn y gymwynas hon genych, oherwydd ni ddymunem er dim fod neb yn gorwedd dan un math o gamgyhuddiad

drwy y *Prophwyd.* mwy nag y dyoddefwn i'r *Prophwyd* yn ddiamddiffyn orwedd dan y fath gyhuddiad â hyna. Yn rhwydd yr addefwn ein bod ni, fel y mae pob golygydd ffaeledig arall, yn agored i gael ein camhysbysu; ac os cawsom ein twyllo yn yr hanes y cyfeiriwch ato, deisyfwn, demandwn, ïe, gorfoda dynoliaeth chwi, gan i chwi ddwyn y cyhuddiad yna. i ddwyn profion argyhoeddiadol a theg mai celwyddau haerllug yw yr hanes hwnw. Nid ystyria dyn rhesymol fod gwaeddi, "celwydd a ddywedi di," yn un prawf o'r peth mewn dadl. O na; nid oes dim llai na thystion, neu ffeithiau, a foddlona yr hwn sydd yn gymofyn am y gwir. Y cyhuddiad a ddygir yn rhifyn Mawrth o'r *Prophwyd* yw, ddarfod i "Bwyllgor Lodge 299, Cyfrinfa Ifor Hael, esgymuno crefyddwyr o'u plith oherwydd eu crefydd." Dyma y pwnc mewn dadl: ac yna safwch ato. Haerwch chwi mai celwydd haerllug yw, ac ond i chwi anfon profion o hyny, caiff eich amddiffyniad y lle mwyaf cyhoeddus yn ngholofnau y cyhoeddiad a'ch cyhuddodd; a pha beth a fynwch yn decach na hyn? Yn awr, safwn ar hyn nes y dygir eich camgyhuddwyr i'r gwarth a deilynga pob ymosodwr ar bersonau ereill: ond cofiwch o'r ochr arall, mai os na wnewch hyn wedi galwad a chymhelliad mor deg, ar eich pen chwi eich hunan yn ol y daw y gwarth. Ystyriwn hyn yn ffordd rwydd a chyfiawn i derfynu y ddadl fechan dan sylw. heb wastraffu nemawr o eiriau. Etto, addunedwn na chewch chwi, Syr, na neb arall, un camgyhuddiad byth drwy y *Prophwyd* tra y gallwn ni wrthio. Ond cofiwch hefyd ein bod, wrth agoryd colofnau y *Prophwyd* i chwi i amddiffyn, mai i amddiffyn y gwneir hyny, ïe, i amddiffyn mewn iaith ac ysbryd dynol a mwyn, gyda dybenion daionus, ac nid er dim i ymgecru, nac i arferyd brawddegau megys, "y gweilch hyn, pan yn chwydu eu cabledd ar draws eu gwell," a "meddianna y gweilch hyn enau i regu, ond heb ddannedd i gnoi," a "er gwaethaf gwawd. enllib. a difenwad llechgwn dirgelaidd." Pa les yw llysenwau fel yr uchod i brofi pwnc, nac i oleuo meddwl un dyn call? Wel. meddwn. da chwi gadewch y fath iaith lle ei harferir, sef yn y gyfeddach. Deallwch, a dealled ein holl ddarllenwyr, mai gwir a gewch chwi a hwythau drwy y *Prophwyd*, onide nid arnom ni y bydd y bai. Deallwch yn blaen hefyd nad rhwng y Saint a'r Iforiaid y mae y peth hyn mewn un dull, canys addefa yr ysgrif gyfeiriedig nad yr Iforiaid a feïid yn y geiriau canlynol, tudal. 49,—"Ond teilwng i'r lleill o'r gymdeithas haelionus a pharchus hon yw hysbysu yn gyhoeddus yr amgylchiadau, a'r personau a achosodd iddynt (sef i'r "gymdeithas barchus") y gwarth hwn (sef esgymuno eu haelodau am eu crefydd); a cheir gweled pwy o honynt (sef y lleill o'r Iforiaid) fydd mor ddyngarol a chyfiawn â chymmeryd eu hysgubell i lanhau yr ystaeniadau brwnt hyn oddiar eu coffadwriaeth." Felly, Syr, amlwg yw mai peth personol, a pheth a ystyrid yn groes i reolau y gymdeithas Iforaidd, oedd hyn; ac yna ni allwch fod yn amddiffynydd i'r Iforiaid, ond yn unig i'r personau hyny o'r Iforiaid a gyhuddir o esgymuno rhai personau ereill am eu crefydd. Yr unig awgrymiad sydd yn yr ysgrif at y gymdeithas yw y geiriau hyn, tud. 50, "Pa un a ydyw hyn (sef yr esgymundod cyfeiriedig, yn enghraifft o Iforiaeth Cymru, ynte o ormes y *clan* hwn o'i rheolau, a brofir drwy ffeithiau yn dadwneyd y trosedd, neu eu cydymffurfiad drwy eu goddefiad o hono." Mae hyn yn ddi-

gon teg, ac yn aros yn safon sicr. Ac yna nis gellwch chwi fod yn amddiffynydd Iforiaeth mor briodol ag y gall eich brodyr alltudiedig. Yr hyn a ddibyna arnoch chwi bellach yw profi na chynnaliwyd y fath bwyllgor ag y sonia eich cyhuddwyr, neu na esgymunwyd neb am eu crefydd, yr hyn os gwnewch, daw enwau eich cyhuddwyr i'r byd mor gyhoeddus a'ch enwau chwithau. Hyn a ddylasech wneyd yn eich traethawd, ac ni wnai mil o draethodau, os na fyddant yn cynnwys hyn, ond eich suddo yn ddyfnach yn y gors; a gellir gwneyd hyn (os gellir hefyd) heb ymollwng i nwydau drwg a gwarthus. Pam y difenwch ac y gwaradwyddwch y grefydd anwyl ag yr ymddibyna cannoedd o filoedd o fobl mor gall â chwithau arni am fywyd tragwyddol, o genfigen at ychydig bersonau a'ch cyhuddant o'r creulondeb uchod? Ai dynol hyn? Ai Cristionogol y dymher a eilw eich cydgenedi, y rhai a anwyd mor rydd ac annibynol, a fagwyd mor driniaethus, ac a ystyrir mor gyfrifol â chwithau, yn "SMITHIAID," yn lle yr enw a broffesant? Onid oes ganddynt ogystal hawl i ddewis eu henw, ac i'w gael heb eu difenwi, ag sydd gan y Bedyddwyr, neu ryw enwad arall? Beth pe galwent chwi yn Waldoaid, neu Mennoaid, neu ryw lysenw o wawd, ai hoff fyddai hyny i'ch clustiau? Ystyriwch mai teimladau naturiol sydd gan ereill hefyd, ac mai i'w Duw y maent yn gyfrifol drostynt eu hunain. Am yr argraffwasg a gyhoeddodd yr ysgrif, gadewch hithau yn llonydd nes y profwch, neu y cynnygiwch gymmaint ag un prawf, nad gwir a argraffodd, a chewch weled y bydd hi mor barod i gyhoeddi eich gwrthbrofion, neu eich amddiffyniad, ag oedd i gyhoeddi y cyhuddiad. Ac hyd oni wnewch hyn, mae eich syndod fod eich brodyr alltudiedig yn grwgnach rhag eu triniaeth greulon, yn efelychu yr hen wreigen a ffonnodiai ei bachgen yn dost rhag ofn y gwnelai ddrwg, nes y llefai, ac yna hithau a'i ffonnodiai waeth-waeth am lefain! Felly chwithau, ebe eich brodyr, a'u triniasoch mor dost, ac a'u hamddifadasoch o'r arian a dalasant i'ch llogellau, ac yn awr chwi a'u difenwch ac a'u gwawdiwch am iddynt ddweyd eu cwyn wrth eu brodyr ereill! Onid oedd ganddynt hawl i gwyno pan nad oedd cyfraith i'w hamddiffyn? Pwy na wnaethai yr un modd? Ac os nad chwi yw yr euogion, hawdd i chwi brofi hyny, onid yw? Os nad allwch, profa eich amddiffyniad blaenorol i bob dyn llygadgraff mai amddiffyn eich hun a'ch partneriaid cyhuddedig yr ydych oherwydd esgymuno eich brodyr, ac nid amddiffyn un egwyddor ag a geir o fewn i Iforiaeth. Nid "llofruddio cymdeithas," fel y dywedwch chwi, a wna yr ysgrif ond cyhoeddi y *daggers*, a dangos yr archollion a ddyry llofruddion cymdeithas arni fel y gwna *Italian Assassin*, dan wadu hyny, a'i wyrdroi yn erbyn y gymdeithas a amddiffyner rhagddo. Yn awr, Mr. Williams, gwelwch nad oes neb yn arferyd ffugenwau, nac yn cuddio enwau, drwy y *Prophwyd*. Gwyddoch enw yr hwn a'ch cymhella yn serchus a thaer, naill ai i amddiffyn eich hun, neu ynte i orwedd o dan eich bai fel dyn. Y naill neu y llall weithian ni allwch beidio a gwneyd.

Atoch chwi, Iforiaid, y cyfeiriwn ofyniad yn serchus hefyd, sef, Ai gwir yw ddarfod i'r "Gwir Iforiaid Dewi Sant, Cyfrinfa Ifor Hael, Rhif. 299, ymgynnulledig yn arwydd y Pren Ywen, plwyf Aberystwyth, anfon yr amddiffyniad [cyfeiriedig] canlynol, fel y byddo i'r

Cymru yn gyffredinol ymochelyd rhag LLECHGWN DIRGELAIDD a llofruddion i hyder a chysur cymdeithas, sef *Saint y Dyddiau Diweddaf*"? A ydyw yn bosibl cael lodge o Iforiaid yn mhlith barbariaid, heb son am eu cael yn ngwlad y beiblau, ac yn Nghymru oleu, ie, yn y Blaenau, a'r rhai hyny yn proffesu crefydd, a feiddiant ddifenwi, ac ymddwyn mor anfoneddigaidd at blaid o grefyddwyr? Os gwir hyn, dyma brawf fod yr un egwyddor yn amddiffyn ag a fu yn esgymuno, ac ni raid chwythu llawer ar y wreichionen hon erei chael yn fflam angherddol! Os yr Iforiaid a anfonodd yr "amddiffyniad" cyfeiriedig allan, pa eisieu prawf sydd mwyach yr esgymunant eu haelodau am eu crefydd, canys amddiffyn hyn yw cyfaddef y weithred. Ond credwn yn well am Iforiaeth am yspaid etto, na'u bod hwy oll yn cyflogi y gwr uchod a'i draethodyn yn Goliath i'w hamddiffyn, onide gwael yw eu hachos yn ein golwg ni! Pe cyfiawn yr egwyddor, amddiffynasent yr alltudion, druain, yn lle amddiffyn y rhai a'u halltudiasant! Cymmeriad gwaeth fyth i Iforiaeth yw hyn. Etto, meddwn, gofyna hyny o adnabyddiaeth a feddwn ni o Iforiaeth am ychwaneg o brofion, cyn y credwn fod y gymdeithas yn gwybod am, nac yn cymmeradwyo yr amddiffyniad, ddim mwy nag y gwnaent yr alltudiaeth a soniwyd. Amser byr a brawf a adferir y dynion yn ol i'w hiawnderau. Dyna'r ffaith oreu. Neu ynte, a ganmolir y Goliath mwyaf, yr hwn a ddirmyga fwyaf ar y gymdeithas drwy amddiffyn ei gelynion penaf.

---

## CYMMANFA GARAWAY.

Cynnaliwyd y Gymmanfa uchod yn Orenp, dydd Sul, Gorph. 18fed. Llywyddwyd gan yr henuriad Henshaw. Cynnrychiolwyd naw o ganghenau mewn sefyllfa lled lwyddiannus yn bresennol, a'r swyddogion yn unfrydol a hysbysasant am lwyddiant yr efengyl. Nifer yr aelodau yw 130. Yn y prydnawn a'r hwyr annerchwyd y dyrfa gan yr henuriaid Davies, Rymny, J. Morris, ynghyd â henuriaid dyeithriol ereill.

Yr oedd lluoedd o wrandawwyr wedi ymgasglu ynghyd, ac yn ymddangos yn awyddus am glywed yr efengyl, ac y mae gobeithion da am lwyddiant etto yn y cylchoedd hyn. Daeth rhai yn mlaen ar ddiwedd y Gymmanfa i ddymuno cael eu bedyddio. Cydunwyd i holl benderfyniadau y Gymmanfa yn unfrydol. Ysbryd yr Arglwydd a'n harweinio ni oll ar hyd llwybrau tangnefedd, yw'n gweddi.

W. Henshaw, Llywydd,
W. Lewis, Ysgrifenydd.

---

# HANESION.

## AMERICA.

Gwersyll Omaha, Mai 30, 1847,—Cyrhaeddodd yr apostol O. Hyde yma ar y 12fed yn iach, a chafodd ei deulu yn iach a chalonog. Hysbysa fod yr apostolion Pratt a

Taylor wedi cyrhaedd yno mewn pryd i gychwyn gyda'r llywydd Young, a chwmni o amryw gannoedd, i groesi y mynyddoedd creiglyd i chwilio am y man goreu i ymsefydlu, yr hyn beth a raid gael ei benderfynu cyn y cynghorir ymfudwyr i ddyfod yno o Frydain, oddieithr fod y llywodraeth yn cydsynied â'r ddeiseb flaenorol. Mae yn debyg y dilynir hwy gan ddau gwmni lliosog, neu dri, yn ystod yr haf hwn, dros y mynyddau. Mae degau o filoedd o erwau o yd yr India wedi ei blanu o'r ddau tu i afon Missouri. Mae y gwaith a wnaed yn yr anialwch, a'r cnydau a roddwyd yn y tir, braidd yn anghredadwy. Dan fendith y nefoedd ni bydd ar neb o'r Saint eisieu bwyd pan dyfo eu cynauaf. Mae'r holl anialwch, o Nauvoo hyd y mynyddoedd creiglyd, yn fyw o Formoniaid, a lluoedd yn ymbarotoi i'w dilyn o'r holl daleithiau. Mawr yw y cyffroad sydd yn y gorllewin.

## LLOEGR.

Mae yn ddywenydd mawr genym hysbysu fod y llywydd Spencer yn gwella o dwymyn drom, a thrwy drugaredd Duw amcana lanw ei swydd bwysig yn fuan. Dangosa cyfrifon cynnadleddoedd y Saint yn Lloegr fod eu cynnydd yn fwy na mil bob chwarter blwyddyn. Etto, gwaeddi mae eu gelynion, "Maent yn darfod, darfod o hyd."

## YR IWERDDON.

Deallir oddiwrth hanes Cymmanfa Belfast fod yr efengyl ar gynnydd graddol mewn amryw fanau o'r wlad hon.

## SCOTLAND.

Mae rhai yn cael eu bedyddio yn nghynnadledd Glasgow yn feunyddiol braidd, ac y mae cynnydd cysson yn nghylchoedd Edinburgh, &c.

## FFRAINC.

Mae amryw bregethwyr yn ychwanegol wedi myned i'r wlad hon yn ddiweddar, ac amryw wedi ufyddhau i'r efengyl, ac arwyddion gobeithiol.

## CYMRU.

Merthyr.—Mae yr eglwys hon ar gynnydd cysson, heb nemawr wythnos a'r nad oes rhai yn dyfod i mewn, hyd nes ydyw rhifedi yr aelodau yma yn awr dros bum cant o Saint ffyddlon, yn undeb y ffydd a chwlwm tangnefedd. Mae rhyw ddynach truan yn cynhyrfu Georgetown yn gysson ar nos Suliau er's amryw fisoedd, gan ddwyn torf gydag ef o'r un tueddiad ag ef ei hun, i'r dyben proffesedig o ddirmygu y Saint, a mawr mor selog y maent! Druain, o'u hanfodd cynnyrchant ugeiniau o bobl i glywed yr efengyl am bob un a ddeuai yno o'r blaen. Yn mhlith yr erlidwyr canfyddir proffeswyr a honant fod yn lled enwog gyda'r sectau, yn rhedeg oddiwrth fwrdd y cymmun, ac yn ysgyrnygu eu dannedd waethaf yn ngwyneb pregethwyr! Dull boneddigeiddiaf eu Goliath yw neidio ar gadair yn ymyl pregethwr y Saint, a pharhau i waeddi yn ei wyneb nerth ei ben, "*You are a liar, you are a liar,*" &c., yn gysson. Pan symuda y Saint i fan arall, symuda yntau ar eu hol, gan wneyd yn gyffelyb yno. Ac ni chywilyddia gyhoeddi ei fod yn benderfynol i'w dilyn a'u herlid hyd y gallo, ânt ple yr elont. Rhyfedd fawredd amynedd Duw yn goddef y fath beth cyhyd. Hysbysir i ni yn gredadwy fod crefyddwyr yn ei gyflogi ag arian i wneyd hyn! Gan i ni glywed fod y gwr hwn wedi haeru yn gyhoeddus droion ei fod wedi bod yn ymddyddan â ni, ein cael yn gelwyddog, a rhyw lawer o haeriadau, hysbyswn i'n darllenwyr mai anwireddau disail yw pob sill, nad oes genym goffadwriaeth ddarfod i'n llygaid welod y dyn erioed, ac nad adwaenom ef o holl bobl y byd; ac nid ydym yn chwennychu gweled y

fath gecryn gwrthnysig. Ni theilyngodd gymmaint â hyn o'n sylw o'r blaen, a ffraidd fyddai genym ymddarostwng oddiwrth ein galwedigaeth bwysig i ffraeo gyda dyn, na dynion, mor ddiegwyddor a rhydd. Gofala ein Duw am y cyfryw, pan y byddont wedi gwneyd yr holl ddaioni a allant i'w waith, drwy alw sylw y rhai gonest at yr efengyl drwy eu herlidigaeth. "Myfi a dalaf, medd yr Arglwydd."

DOWLAIS.—Mae y pregethwyr yn y dref hon yn deffroi o ddifrif yn awr yn erbyn y Saint, oherwydd fod pob rhai o honynt braidd yn colli cynnifer o'u haelodau. Hen gastiau y rhai hyn (gyda rhai eithriadau parchus) oedd pregethu yn erbyn y Saint, a chyhoeddi pob ystoriau gwarthus a disail am danynt, ond y mae ganddynt ffordd newydd yn awr, gan nad oedd eu herlid blaenorol ond yn dwyn dynion i wrando y Saint drostynt eu hunain, a'r canlyniad oedd, os gonest eu calon, y credent y gwir, ac yr ymunent â'r Saint, Yn awr, bygythir yn llym bob un a elo i wrando ar y Saint yn pregethu! A mawr yr esgymuno sydd ar ol y delo rhai o'u plith at y Saint, gan eu gwneyd yn esiamplau i ddychrynu y lleill. Ond nid oedd hyny yn tycio, canys dyfod yr oedd y bobl at y Saint yn gysson; a'r ddyfais newydd sydd ar droed yn awr yw, dewis rhyw nifer etholedig o'r cecrwyr mwyaf haerllug o'r gwahanol ysgolion a chapeli, a'u danfon ar ol pregethwyr y Saint i'w gwrthwynebu lle y byddont yn pregethu, yn go debyg i fel y gwnai y Spaeniaid anfon eu gwaedgwn ar ol brodorion yr America gynt, a mawr y cyfarth a'r dwndwr a achosant rhag i'r gwrandawwyr glywed yr efengyl. Ond boed iddynt fyned yn mlaen druain, canys mae eu hynfydrwydd yn dod yn amlwg i bawb, ac y maent yn achosi i luoedd ddyfod i wrando, ac i lawer i gredu. Er gwaethaf "tad y celwydd," a'i holl ddyfeisiau, llwyddo mae y gwirionedd hyd nes y mae yn mhell dros gant wedi cael eu bedyddio gan y Saint yn Dowlais mewn ychydig o fisoedd; a'r rhai hyny yn rhai o blith yr holl sectau ereill braidd, a pha rai ni chymmerent y byd am droi yn ol at y "cibau gweigion" a adawsant. Yr Arglwydd grasol o'i ddaioni a rwygo y gorchudd oddiar lygaid lluoedd etto yno, fel y gwelont y goleuni dwyfol hwn.

CWMBYCHAN.—Mae y sectariaid yn gweithio yn fwy cyfrwys drwy y gweithiau yma nag yn rhai manau. Yma brathu y sawdl yw eu *game* er troi y Saint o'u gwaith. Etto mae yma wrandawwyr astud a boneddigaidd yn chwilio am y gwirionedd, ac yn ei gofleidio er pob gwg a dirmyg hefyd. Hysbysir ni er's amser yn ol fod 11 wedi eu bedyddio yno er y Gymmanfa ddiweddaf (sef er's llai na mis), a bod amryw ereill wedi addaw ufyddhau yn fuan. Ac aeth amryw bregethwyr yno, ac o'r cylchoedd, yn ychwanegol yn ddiweddar.

LLWYNI.—Mae yma gyffroad o'r newydd wedi cael ei chwythu i fyny drwy erlidigaethau a bygythion, er hyny mae y Saint yn ffyddlon a phenderfynol, a llawer wedi cael eu bedyddio yn ddiweddar. Clywsom fod gau-grefyddwyr wedi llwyddo i gael gan rhyw foneddwr gerllaw i droi y Saint o'r gwaith oherwydd eu crefydd; ond gobeithiwn, er mwyn dynoliaeth, rhyddid, Cristionogaeth, a rheswm, nad oes i'w gael o fewn i ororau Cymru oleu—Cymru efengylaidd, ddyn mor greulon â hyny.

LLANELLI.—Dywed Golygydd y *Diwygiwr* mai rhyw bethau bach distadl yw y Saint yn ei dref ef, ac nad oes eisieu ond iddo beidio cymmeryd arno eu clywed er eu lladd. Dyma brophwydoliaeth ag sydd yn profi ei hawdwr yn au-brophwyd! Cofier hi! Ond y mae y Saint, er y cwbl, wedi achosi i ymchwiliad a chyffroad mawr gymmeryd lle yn Llanelli, ie, hyd y nod yn ei gapel ef ei hun, nad all ef byth ei ddiffoddi, er ceisio ei fogu am enyd. Bedyddiodd y Saint 12 yno yn y mis diweddaf i ddechreu. Go dda, onide, Mr. Rees?

Pont-y-berem.—Mae yr henuriaid H. Williams, Edward Thomas, ac Ephraim Rowland, yn llafurus iawn yn y cylchoedd hyn, a llawer o alw am bregethu. Clywsom iddynt fedyddio dwy yn ddiweddar. Llwyddiant iddynt.

Sir Benfro.—Erlidigacthau pregethwyr gwrthwynebus sydd yn dwyn llnoedd o wrandawwyr yma hefyd, a hysbysir ni gan y brawd Mitchell, ac ereill, fod amryw wedi cael eu bedyddio er y Gymmanfa.

Sir Aberteifi.—Mae yr henuriad W. Evans, o Rymni, a'r offeiriaid James Edwards, a J. Price, yn llafurus drwy y Sir hon er's tro, ac yn cael gwrandawiad da rhagorol.

Machynlleth.—Cawsom lythyr oddiwrth yr henuriad A. Evans oddiyno yn ddiweddar. Mae y Saint ar gynnydd mewn undeb a chariad, ac fel yn holl gynnulleidfaoedd y Saint, mawr yw doniau a bendithion Duw yn eu plith.

Sir Fflint.—Mae yr hen. John Jones, a J. Parry, o Birkenhead, yn bresennol yn cynnorthwyo y pregethwyr blaenorol yn y Sir hon, ac y mae amryw wedi cael eu bedyddio. Cwynant hwythau fod teulu Demetrius yn cyffroi i'w herbyn tua'r gogledd draw, a'u bod yn ymarfogi â'r chwedlau disail a ddyfeisiodd ei Sanhedrim ef yn y deheudir yma. Yma gwirir yr hen ddiareb a ddywed, "Gesyd celwydd y dalaeth ar dân tra bo y gwir yn goleu ei fatcheu;" etto y gwir a ddeil ei brofi, ac mewn amser a orchfyga y noddfäau celwydd.

Sir Ddinbych.—Mae amryw swyddogion llafurus yn pregethu yr efengyl dragwyddol yn llwyddiannus iawn yn y parth hwn hefyd, a llawer o'r bobl yn ymchwilio i mewn iddi.

Sir Gaernarfon.—Mae yr henuriad E. Edwards, a'r offeiriad Lewis Jones yn ddiwyd iawn ar hyd y Sir hon. Cawsom amryw lythyrau oddiwrthynt yn ddiweddar, yn arwyddo sel a phenderfyniad didroi yn ol. Cafodd y cyntaf wrthwynebiadau cyndyn tua Bethesda, &c. Arfau goreu ei elynion oedd ystoriau anwireddus y newyddiaduron yn erbyn cymmeriadau Joseph Smith, a blaenoriaid ereill yr eglwys. Diolchwn i Dduw am athrawiaeth na allant syflyd un egwyddor o honi. Diolchwn hefyd am y sicrwydd a feddwn mai celwyddau disail yw y cyhuddiadau a ddygir yn erbyn yr offerynau a'i sefydlodd. Dywed nad yw efe na Lewis Jones wedi dyoddef eisieu dim anghenrheidiol; a dymuna y ddau i ni hysbysu na feddyliodd Lewis Jones am ddyfod yn ol, fel y meddyliodd gelynion y gwirionedd, ond ei fod yn pregethu yn hyf a diwyd yn mhob man drwy'r cylchoedd hyny; ac i arferyd ei eiriau ef ei hun mewn llythyr yn ddiweddar o Fangor, dywed, "Yr ydwyf wrth fodd fy nghalon, ac yn penderfynu myned yn mlaen gyda'r gwaith dwyfol hwn, dywedant hwy a fynont am danaf; yr ydwyf wedi cael fy siomi ynddynt; ac yr ydwyf yn anfon fy ngharíad goreu at yr holl Saint." Ai tybied na chywilyddia y rhai a achosodd y fath erlidigaeth ar y gwas ffyddlon hwn i Dduw, pan y profa amser eu celwyddau yn eu gwynebau!

Sir Fon.—Mae yr henuriad Robert Evans yn pregethu ei oreu, a dywed ddarfod i ryw ddyhirod anfon deiseb ato mewn un man yn enw "*Meibion Mon*" i ymadael o'r Sir, onide fod ei fywyd mewn perygl! Atebodd yntau, mai boddlon oedd, os felly y mynent, ond cofient y gofynid ei waed gan y "*Meibion Mon*" hyny yn dragywydd. Ac etto pregethu a wna yn wrol.

---

## AT EIN DOSBARTHWYR.

MAE y rhan gyntaf o'r "EURGRAWN YSGRYTHYROL" allan o'r wasg, pris swllt, a gellir ei gael gyda'r *Prophwyd.* Cynnwysa y gwaith tua phedair neu bump o ranau chwecheiniog yr un, yn ychwaneg. Taer erfyniwn arnoch, gyfeillion anwyl, i barhau eich diwydrwydd blaenorol tuag at ledaenu ein cyhoeddiadau, yn enwedig yr *Eurgrawn,* ac i anfon yr arian yn ol mor gynted ag y bo modd. Ni raid ond cael gweled y rhan gyntaf er cael gweled yr anghen mawr sydd am y fath lyfr yn hyfforddwr i'r Saint; ac yn enwedig fel y gallo y pregethwyr gael deall yr hyn a gredwn am yr holl bynciau a gynnwysa, a chael meddyliau yr ysgrifenwyr ysbrydoledig wedi eu crynhoi yn barod at eu gwasanaeth, fel y gallont eu hamddiffyn rhag ymosodiadau eu gwrthwynebwyr. Goleua yr *Eurgrawn* ein cydgenedl hefyd am ein hathrawiaethau, pa rai a wrthwynebant yn eu hanwybodaeth, canys credwn mai yn gyfesur i gyhoeddusrwydd ein crefydd yr ennilla garwyr y gwir i'w chofleidio. Ein dyledswydd a'n braint ni yw ei chyhoeddi; a pha fwyaf a wnawn o hyn, mwyaf y llesolwn ein cyd-ddynion, ac ein gwobrwyir gan yr hwn a bia y gwaith dwyfol a ymddiriedwyd i ni. Yn awr yw yr amser i weithio, cyn y delo y dyddiau blin!

*** *Erfyniwn ar ein holl ddosbarthwyr i ymbarotoi i settlo eu holl gyfrifon erbyn diwedd y flwyddyn, ac os bydd rhai llyfrau neu Brophwydi ar law na ellir werthu, i'w dychwelyd yn ol y pryd hyny.*

*** *Mae genym amryw o "Hanes y Saint," pris swllt, ar law, a gobeithiwn na fydd un o'r Saint heb feddu un o honynt.*

*** *Mae genym hefyd yr amrywiaeth o yn agos i ugain o fathau o draethodau o wahanol brisiau, o ddimai hyd dri swllt, pa rai a gyhoeddasom yn Gymraeg yn ddiweddar, ac a ellir eu cael os prysurwch.*

*** *Hefyd, amrywiaeth o lyfrau Saesonaeg, megys "Llyfr Mormon," a'r "Voice of Warning," "Millenial Star," yn ddwy wythnosol, 3c.*

---

CYNNWYSIAD.




MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

---

ARGRAFFWYD GAN J. JONES, RHYDYBONT.

# PROPHWYD Y JUBILI.

NEU

# SEREN Y SAINT.

RHIF. 16.] HYDREF. PRIS *2g.*

## APOSTOLION.

I BROFI fod ychwaneg na deuddeg yn eglwys Iesu Grist yn yr oes gyntaf o Gristionogrwydd, cynnygiwn yr hyn a ganlyn :—

Luc ix, 1,—"Ac efe a alwodd ynghyd ei ddeuddeg dysgybl, ac a roddes iddynt feddiant ac awdurdod ar yr holl gythreuliaid, ac iachâu clefydau." Yma y gwelir hwy y deuddeg dysgybl. Luc ix, 10,—"A'r apostolion, wedi dychwelyd, a fynegasant iddo y cwbl a wnaethent. Ac efe a'u cymmerth hwynt, ac a aeth o'r neilldu, i le anghyfannedd yn perthyn i'r ddinas a elwir Bethsaida." Yr un deuddeg a geir yma dan yr enw apostolion. Luc x, 1,—"Wedi y pethau hyn yr ordeiniodd yr Arglwydd ddeg a thriugain ereill hefyd, ac a'u danfonodd hwynt bob yn ddau o flaen ei wyneb i bob dinas a man lle yr oedd efe ar fedr dyfod." Deg-a-thriugain o ba swydd oedd y rhai hyn? Ai henuriaid? Nid oes gair o son wedi bod am y teitl hwnw nac un teitl arall yn flaenorol i hyn ond am apostolion: nid oedd efe wedi danfon neb arall. Paham yr arferwyd y gair "ereill," os nad o'r un swydd yr oedd y rhai hyn â'r lleill? Ni allwn ddirnad pa enw i roi arnynt ond apostolion, a phe dywedasid, deg-a-thriugain (o apostolion) ereill, ni buasai ond yr un mor eglur, canys apostolion oedd dan sylw yn flaenorol. Yr achos paham y dadleua rhai nad oedd ond deuddeg o apostolion y pryd hyny yw, debygwn, fel y gallont brofi nad oes eisieu eu parhad yn eglwys Crist, ond yn unig eu bod yn anghenrheidiol er ei sefydlu neu i fod yn dystion dros Iesu yn yr oes hòno. Mae yr wrthddadl yna yn henach na'n tadau ni, debygem; a phe gellid ei hamddiffyn, cauid y bwlch mawr ag sydd yn mhob cynnulleidfa a broffesa fod yn eglwys apostolaidd, ac etto yn amddifad o apostolion. Ond darllener a ganlyn: Rhuf. xvi, 7,—"Anerchwch Andronicus a

Junia, fy ngheraint a'm cydgarcharorion. y rhai sydd hynod yn mhlith yr apostolion, y rhai hefyd oeddynt yn Nghrist o'm blaen i." Pa hynodrwydd duwiol a allai fod ynddynt i deilyngu canmoliaeth, yn rhagor nâ rhai o uwch swydd? pe uwch hefyd. 1 Cor. xv, 5, 6,—"A'i weled ef gan Cephas, yna gan y deuddeg. Wedi hyny y gwelwyd ef gan fwy na phum cant brodyr ar unwaith; o'r rhai y mae y rhan fwyaf yn aros hyd yr awrhon; eithr rhai a hunasant." Ai tybied nad oedd y deg apostol a thriugain yn mhlith y llu yma? Pe gwrthgiliasent, buasai y fath beth yn teilyngu ei groniclo. 1 Cor. xv, 7,—"Wedi hyny y gwelwyd ef gan Iago, yna gan yr holl apostolion." Yma ceir na wyddis pa nifer yw y gair "holl apostolion." Nid oedd y deuddeg yn cynnwys yr oll, canys yr oedd efe eisoes wedi mynegu, yn adn. 5, fod y deuddeg wedi ei weled. 1 Cor. xv, 8. 9,—"Ac yn ddiweddaf oll y gwelwyd ef genyf finnau hefyd, megys gan un annhymig. Canys myfi yw y lleiaf o'r apostolion, yr hwn nid wyf deilwng i'm galw yn apostol, am i mi erlid eglwys Dduw. Act. xiv, 14,—A'r apostolion, Barnabas a Phaul, pan glywsant hyny, a rwygasant eu dillad, ac a neidiasant yn mhlith y bobl, gan lefain." Yma addefa Luc yn bendant fod y ddau hyn yn apostolion, er nad oeddynt o rifedi y deuddeg. Dat. ii, 2,—"Mi a adwaen dy weithredoedd di, a'th lafur, a'th amynedd, ac na elli oddef y rhai drwg; a phrofi o honot y rhai sydd yn dywedyd eu bod yn apostolion, ac nid ydynt; a chael o honot hwynt yn gelwyddog." Pe na buasai ond y nifer hyny, sef deuddeg, i fod, gwelir mor ffol fuasai i neb arall honi ei fod yn apostol. Nid ystyriwn y gwrthddadleuon, fod gweled Iesu Grist, cael danfoniad personol ganddo, na bod gallu gwyrthiol gan bob un, neu wedi bod gydag ef o'r dechreu, &c., ynghyd â gallu i lefaru pob iaith yn wyrthiol, yn gymhwysderau anhebgorol er bod yn apostol, ond haeriadau anghysson y rhai a haerant "fod apostoliaeth yn mhlith y pethau a'r doniau afreidiol." Gwelir nad oedd yn bosibl fod yr holl apostolion uchod yn meddu yr holl, na nemawr, o'r cymhwysderau uchel hyny, yn ol a ddarllenwn ni. Yn wir, nid ydym yn deall fod ond rhyw bedwar neu bump yn gwneyd rhyw weithredoedd mwy nerthol na'r pregethwyr ereill, neu y Saint, ac nid ellid dysgwyl mai gwneuthurwyr gwyrthiau pawb, fwy nag y gellid dysgwyl mai apostolion pawb. 1 Cor. xii, 29, 30. Nid yw

fod y naill apostol wedi ei gynnysgaethu â'r cyfryw ddawn yn gosod un gwaharddiad i Dduw roddi yr unrhyw swydd i arall heb y ddawn wyrthiol hòno, canys rhodd Duw yw y naill a'r llall. "Fel y mae efe yn ewyllysio" y mae y cwbl.

---

## ADOLYGIAD

### AR DDARLITH Y PARCH. D. JONES, CAERDYDD, AR "ARDDERCHOGRWYDD Y GREFYDD GRISTIONOGOL."

Traddodwyd y ddarlith hon yn nghapel Bethania, Dowlais, ar y 3ydd o Fedi, ar ol y Parch. E. Roberts o Rymny.

Y cam cyntaf a roddodd y darlithiwr oedd i swydd y Cadeirydd, a'r peth cyntaf a ddaeth o'i ben oedd y ddedfryd greulon a ganlyn:—"Y mae fy mrawd [E. Roberts] wedi dangos yn eithaf goleu mai twyll, a thwyll yn unig yw Mormoniaeth;" pan ar yr un pryd nad oedd ei frawd wedi gwrthbrofi un egwyddor a berthyna i "Formoniaeth," ond gwneyd bwganod erchyll o'i waith ei hun, ac ereill o'r un chwaeth, a'u dirdynu ar yn ail; ïe, chwedlau, meddwn, a haeriadau ag oeddynt mor anmhriodol i Formoniaeth ac i *Fedyddiaeth*, os nad mwy felly. Nid oedd "Mormoniaeth" dan eu dwylaw, na'i chysgod, namyn dychymygion ei gelynion; h.y. os addefir ein bod ni yn deall rhywbeth am dani; ac os na wyddom rywbeth, ar ol cael blynyddau o'i chymdeithas, lle gwael sydd i ddysgwyl fod y dynion hyn nad adnabuant ddim o honi erioed, yn deall dim am dani. Pwy, o ddifrif, a ddylai ddeall oreu? Etto, meddwn, nad "Mormoniaeth" oedd yn cael ei dirdynu mor ddidrugaredd yn Dowlais; canys y mae hi heddyw yn fwy byw a llwyddianus nag erioed." A phrophwydwn mai byw a wnaiff yn dragwyddol, er gwaethaf ei holl wrthwynebwyr; mae ynddi fywyd dwyfol, a hi a gynnydda pa fwyaf a ferthyrant hwy o'i deiliaid. Oes, y mae "nerth bywyd annherfynol" ynddi, ac y "mae y breichiau tragwyddol odditani." Nid braich o gnawd a lwydda i'w herbyn. Yn nesaf haerodd "ni all fod ond naill ai Llyfr Mormon ai y Beibl yn wir, oherwydd y mae gwrthdarawiad ynddynt i'w gilydd." Ni welodd yn dda nodi y manau, na rhoddi cymmaint ag un enghraifft i ddangos y gwrthdarawiad hwnw, ac ni all efe na neb arall brofi fod yr un frawddeg yn llyfr Mormon yn groes i'r ysgrythyrau; canys nid oes yr un. O'r ochr arall, y mae hollol gydgordiad rhwng y ddau lyfr, ac felly dylai y rhai a addefant eirwiredd y naill, addef y llall hefyd, neu brofi fod dau wirionedd yn croesi eu gilydd. Meddyliai efe nad oedd neb o'i wrandawwyr wedi darllen dim ar Lyfr Mormon fwy na'i hunan, a thra y gallai eu rhwystro i'w darllen, na welent yn amgen. Haeriad arall o'i eiddo yw,—"Terfynodd yr Hen Destament gydag agoriad i'r Newydd i ddyfod i'n meddiant. Prophwydwyd yn niwedd yr Hen Destament y byddai un arall i'w gael; ac yn niwedd y Testament Newydd rhoddodd y Duw mawr drwy enau Ioan glo tragwyddol arno, fel pwy bynag a roddo at eiriau prophwydoliaeth y llyfr hwn (sef yr Hen Destament a'r Newydd) neu a dyno oddiwrthynt, nad oes ond y pläau hyn i ddisgyn ar ei ben." Gwel Dat. xxii, 18, 19. Y

ydym wedi cyhoeddi digon ar yr wrthddadl hon eisoes, er profi nad oedd Ioan yn cyfeirio at yr Hen Destament na'r Newydd; ond, fel y dywed efe ei hun yn bendant yn y geiriau dan sylw; sef "geiriau prophwydoliaeth y *llyfr hwn*," sef llyfr y Datguddiad; sef, yr ysgrif hono ag oedd dan ei law ar y pryd yn ynys Patmos, a'r hon a gynnwysai eiriau y brophwydoliaeth a gawsai efe yno yn unig. Oni wyddai Mr. J. na chrynhowyd ysgrifeniadau yr apostolion yn un llyfr am ganrifoedd wedi bod Ioan ar ynys Patmos? Pa fodd ynte y gallasai gyfeirio at y gyfrol yn y geiriau uchod? Os oedd yn gwahardd ychwanegu at y Beibl fel y dywed Mr. J., yna daeth Ioan yn agored i'r pläau ei hun, canys dywed y beirniaid iddo ysgrifenu ei dri Epistol a'i Efengyl yn Ephesus, ar ol dyfod o ynys Patmos; ac etto y maent hwy yn y gyfrol. Ond am hyn gwel *Atebydd*, tudalen 5, 6. *Y Glorian*, tudalen 15. Ac etto, pa ychwanegiad at y Beibl a all Llyfr Mormon fod, oddieithr ei fod wedi ei grynhoi yno hefyd, ac yn proffesu bod yn rhan o hono? Onid llyfr ar ei ben ei hun yw efe? ac ni ddichon fod yn ychwanegiad at eiriau Ioan, oddieithr ei fod yn hòni Ioan yn awdwr. Dysga rheswm plentyn ef yn well na dwyn yr wrthddadl yna yn erbyn Llyfr Mormon: etto dyna y gadarnaf a allasai efe feddwl am dani; a da cael rhywbeth yn erbyn y llyfr a gasâ heb ei weled, ond odid. Cyfeiriodd ei "frawd" at hyn amryw weithiau o'i flaen, a thrwy hyny dangosasant wagedd a dwlni eu rhesymau a'u profion. Dyma ffordd ryfedd i arddangos "ardderchogrwydd y grefydd Gristionogol," onide! Addefant eu hunain, mai ei "hardderchogrwydd" hi gynt oedd mwynhad ei hufyddion o ddatguddiadau dwyfol, gweledigaethau, &c., a gweddiai Paul ar i Dduw barhau i roddi hyd y nod i'r cenedloedd "Ysbryd doethineb a *datguddiad* trwy ei adnabod ef." Ie, gweddiai am barhad o hyn yn yr eglwys "dros yr holl genedlaethau yn oes oesoedd. Amen." Yr oedd Cristionogaeth felly yn ardderchog, ond y mae Cristionogaeth Caersalem a Bethania, Dowlais, yn ardderchocach yn awr, heb *ddatguddiadau*, na dim o'i grym cyntefig ond y rhith yn unig. Etto addefasai Mr. R. y noson cynt "fod Cristionogaeth yn anghyfnewidiol," sef ei "datguddiadau," a'r oll o honi; ond yma, yn ei erbyn ei hun, cyfenwa y rhai a broffesant yr efengyl sy'n dwyn datguddiadau yn "dwyllwyr." Onid yw hyn yn enghraifft deg o'r rhai sydd yn dweyd am y tywyllwch mai goleuni yw, ac am y gwir (yn ol eu haddefiad) mai twyll yw? Yr "Ysbryd doethineb a datguddiad" hwnw ag oedd yn brif-ardderchogrwydd yr un gristionogaeth yw gwadu datguddiadau. Ie, gwnaent hyn oll pan yr oedd y Beibl o flaen eu llygaid, yn sicrhau yn hollol groes mewn mwy na chant o fanau. Pa fodd y dichon y gwadwyr a'r gwawdwyr hyn hòni un rhan na chyfran o "gristionogaeth" Iesu Grist a'i apostolion, sydd yn destun syndod, yn enwedig pan yn ei hyspeilio a'i gwaradwyddo yn gyhoeddus! Gofynwn i Mr. J. ein cyfeirio at y bennod a'r adnod yn yr Hen Destament, sydd yn addaw i ni lyfr fel y Testament Newydd? Pa nifer o lyfrau, neu epistolau a llythyrau pennodau, a dalenau oedd i fod ynddo? Nid y'm ni yn gwybod am un brophwydoliaeth yn yr Hen Destament yn desgrifio *llyfr* tebyg i'r Testament Newydd; ac ni all yntau ddangos un. Gwir fod yno lawer o brophwydoliaethau am ddyfodiad y Messiah, y gwaith

mawr a wnelai, y driniaeth a gaffai efe a'i weision ar ei ol, heblaw llawer o bethau ereill; ond dim un yn addaw dyfodiad y fath lyfr o ran maintioli, &c., â'r Testament Newydd, fel yr haera Mr. J. A phe buasai y prophwydi yn desgrifio llyfr fel y Testament i ddod i'r amlwg, buasai eu desgrifiad o hono yn wahanol iawn i'r hyn yw y llyfr yn awr; oherwydd desgrifiasent ef yn cynnwys y llythyrau a'r epistolau canlynol, (nad faint ychwaneg) pa rai, er ei fod yn addef eu geirwiredd fel y lleill ydynt etto yn ngholl; megys Epistol *cyntaf* Paul at y Corinthiaid. Gwel 1 Cor. v, 9. Ei epistol at Laodicea, Col. iv, 16. Judas, "am yr efengyl gyffredinol," Jud. adn. 3. Prophwydoliaeth Enoch, adn. 14; heblaw llawer ereill, ebe Luc 1, 1, &c. Felly gwelir mai haeriadau hollol gyfeiliornus yw eiddo Mr. J. hyd yma. Gweler yn mhellach, a allwn gael un haeriad gwirioneddol ganddo? Dywed fod yr Hen Destament wedi cael ei derfynu hefyd, ond ni ddywed gan bwy; ond gan fod Ioan wedi cloi i fyny y Newydd drwy y geiriau uchod, paham nad Moses a gloôdd i fyny yr Hen Destament drwy y cyffelyb frawddeg yn Deut. iv, 2. Ac os felly, dyma Josua, Dafydd, Solomon, Esaia, ïe, yr holl brophwydi diweddarach, a'u gwaith, yn cael eu hesgymuno a'u gwadu gan Mr. J. yr un fath â llyfr Mormon a'r holl Destament Newydd! Dyma ei resymeg ef! Clōa efe ei hun i fyny yn yr un ddilemma etto wrth haeru fod yr Hen Destament yn gyflawn, ag a wnaeth wrth haeru fod y Newydd yn gyflawn; canys os gwiw cynnyg iddo yr Hen Destament yn brawf, gwelir fod hwnw hefyd yn mhell iawn o fod yn gyflawn. Addefa y llyfr ei hun dros ddwsin o lyfrau ereill mor ddwyfol a'r lleill sydd ynddo; ac etto, nid oes un o honynt yn yr Hen Destament. Cyfeiriwn at rai o'r llawer, megys Jos. x, 13; 1 Cron. xxix, 29; 2 Cron. ix, 29; Pen. xii, 15; Pen. xxxiii, 19, &c., &c. Pa fodd y gallwch haeru fod yr Hen Destament yn gyflawn, Mr. J. hyd oni chynnwysa yr holl rai hyn, o leiaf? Ac wedi cael y rhai hyn, dichon eu bod hwythau yn rhoi hanes ereill wed'yn. Beth, ai y ddau glawr sy'n gwneyd llyfr yn gyflawn, ynte eich haeriad chwi, mai felly y mae? Onid yw y llyfr ei hun yn dweyd yn hollol groes i'ch haeriad mewn amryw fannau, megys y rhoddai Duw ychwaneg o ddatguddiadau o oes i oes, os peidiai dynion a gwyro ei lwybrau, a gwadu datguddiadau, &c., ïe, yr amlygai ei feddwl yn "llin ar lin," yn orchymyn ar orchymyn, ychydig yma ac acw ychydig. Ac y mae yn gwneyd felly yn yr oes hon i'w blant drwy lyfr Mormon, drwy ysbryd y datguddiad, a'r doniau ysbrydol, &c., serch eich bod chwi yn gwadu hyny, ac yn gwrthwynebu y pethau ni wyddoch o'u herwydd, fel y gwnaeth Cora, Dathan, ac Abiram gynt. Er mwyn eich eneidiau, ac eneidiau eich gwrandawwyr, peidiwch a bod mor awyddus i gael cyflogau anghyfiawnder gydâ'r Baalam hwnw gynt. Beth ond hyn a'ch cynhyrfa chwi a'ch brodyr erlidgar, i haeru y fath ffolineb a chelwyddau yn erbyn y gwirionedd? Yn nesaf, sylwer ar gymhariaeth Mr. J. Dywedai fod goleuni yr oes Foesenaidd, Batriarchaidd, ac Iuddewaidd, fel goleuni y sêr, y lleuad, ar haul, "ond goleuni Joe fel *goleu* canwyll." Diolch i chwi am addef fod cymmaint a hyna o oleuni gan "Joe;" canys haerech gynneu mai twyll *yn unig* oedd ganddo, ac nid oes hyd y nod "goleuni canwyll" mewn twyll. Yr un yw goleuni; ac y mae yn dda, deued o ba le y delo. Goleun

dwyfol a arwyddai eich cymhariaethau, o anghenrhaid, ac felly eiddo "Joe" yr un rhyw ydyw. O ba le y cafodd "Joe" y goleu canwyll yna? O ba le yr honwch chwi fod wedi cael goleu yr haul? Onid o'r Testament Newydd? Os felly, onid oedd y Testament Newydd gan "Joe" cystal â chenych chwithau, ac o ganlyniad gallasai gael goleuni yr haul ag yr honwch chwithau, h.y. os yn y llyfr ei ceir; a dyma eich proffes chwi, a'r unig begwn i'ch adeiladaeth, gan eich bod yn gwadu ysbryd y datguddiad. Os y llyfr yw ffynnonell goleuni, o ba le y cafodd awduron y llyfr eu goleuni cyn cyfansoddi llyfr? Os nad y llyfr oedd ffynnonell eu goleuni hwy, pa fodd y dichon fod yn *ffynnonell* goleuni yn awr? Dywedir mai "dynion santaidd Duw a lafarasant yr ysgrythyrau megys ag y cynhyrfwyd hwynt gan yr Ysbryd Glân:" ac nid megys eu cynhyrfwyd gan *lyfr* na *llyfrau*. Etto, os y llyfr yw ffynnonell goleuni, pahamn na ddeuech chwi a'ch holl gydbregethwyr croes-gredöawl, i gydweled a chyd ddysgu egwyddorion dwyfol y Testament Newydd, yn lle bod hen-hen â'ch gilydd beunydd, hyd y nod o berthynas i ordinhadau pwysig ac anghyfnewidiol yr efengyl? Nid oes nemawr ddim ag y cydynwch a'ch gilydd ynddynt, oddieithr i wadu ysbryd y goleuni, ac i erlid a difenwi, a galw plant y goleuni dwyfol yn "dwyllwyr," "plant y tywyllwch," "sataniaid," &c. Gan mai wrth eu gweithredoedd yr y'm i adnabod dynion, beth sydd amlycach na bod eich gweithredoedd a'ch haeriadau chwithau yn profi mai plant y tywyllwch ydych? Dywed yr ysgrythyr y byddai dynion yn y dyddiau diweddaf, a chanddynt rith (sef proffes yn unig) o dduwioldeb, ac yn gwadu ei grym hi, (sef yr ysbryd y goleuni a datguddiad hwnw oedd yn "*nerth* ac yn sicrwydd mawr" yn y Saint gynt:) y rhai ni fynant ddyfod i'r goleuni, oherwydd fod eu gweithredoedd hwynt yn ddrwg.

[*I'w barhau.*]

---

## DYFYNIAD O LYTHYR YR APOSTOL O. HYDE.

Ysgrifenwyd y llythyr canlynol o St. Louis, dyddiedig Awst 5, at O. Spencer, Liverpool:—

"Mehefin 22ain, cychwynodd yr Henuriaid Pratt a Taylor o'r Horne, ynghyd â chwmpeini o Saint, gydag oddeutu 600 o bedrolfeni, ar ol y gwersyll blaenaf. Pan yn dychwelyd o'r Bluffs tua St. Joseph, er's pump diwrnod yn ol, cyfarfyddai â 5 *battalion* o'r Saint a ymunasent ar fyddin Americanaidd, yn dychwelyd i gyfarfod â'r gwersyll; pa rai oeddynt heb gyrhaedd yno. Aethant hwy a'r rhai ereill o'r Fort ar eu hol. Daeth cenadydd yma yn ddiweddar yn hysbysu fod y gwersyll blaenaf wedi cyrhaedd tuhwnt i'r Mynyddoedd creiglyd, trwy y "*South Pass*," oll yn iach.

Mae y gweddill o'r fyddin wedi ymsefydlu yn California. Dychwelodd amryw genadau i gyfarfod â'r gwersyll blaenaf, pa rai a fuasent yn edrych ansawdd California; ac felly trwy ddaioni Duw cyfarfydda yr oll â'u gilydd mewn cynghor oddeutu godrau y mynyddoedd, pan y penderfynir canol-bwynt eu hymgyrch, &c. I Dduw y bo'r diolch! Ei ysbryd ef a ddechreuodd y gwaith hwn, ac a'i harweiniodd yn mlaen

hyd yma; onide ni chydweithiasai pob peth mor rhyfeddol a hwylus i'w gyssylltu ynghyd o eithafion daear, heb swn morthwyl. Mae cnydau y Saint yn ngwlad yr Indiaid yn lluosog a gwych, pa le bynag braidd ag y troir y wyneb, gwelir caeau mawrion o yd yr India, &c., drwy'r anialwch hwn. Wythnos i'r Sul diweddaf, pregethais gerllaw fy mhabell yn y goedwig i dorf luosog o wrandawwyr astud, a bedyddiwyd wyth ar y diwedd, mewn llyn a wnaethid ar y *prairie;* ac er yn alltudion, yr ydym yn cael aml Sabboth hyfryd a melys.

"Dilynir ein gwersylloedd gan luoedd o bobl y byd, y rhai a hoffant ein cwmni; ac y mae llaweroedd yn cael eu bedyddio beunydd ar y ffordd, yn yr anialwch, &c., ac ychwaneg yn dylifo ar eu hol.

"Clywais fod gwersyll Pratt a Taylor oddifewn i 150 o filltiroedd i *Fort Laramie* ar yr 17eg o Orphenaf, oll yn iach. Yr ydwyf fi wedi bod yn pregethu ac yn cynnal Cymmanfaoedd am 50 o filltiroedd o ddau tu i afon Missouri o *Council Bluffs* hyd i *St. Louis*, heblaw gweithio a'm dwylaw fy hun nes y mae genyf faes yn cynnwys dros 50 o erwau wedi ei gauad, a 30 o erwau o gnwd. Gorchwyl hawdd yw rhoddi cnwd yn y *prairies* hyn, ac y mae yn cynnyrchu ffrwyth yn rhagorol.

"Pan ddychwela cenad oddiwrth y deuddeg, hysbysir chwi yn brydlon o barthed i'r ymfudiad, a gobeithaf y bydd y Saint yn amyneddgar am enyd etto. Os cynnorthwya y Saint yn Mhrydain ni yma yr hyn a allant, goreu oll fydd hyny ar eu lles hwythau hefyd pan y delont yma; canys nid gwaith personol yw yr hwn sydd genym ni, ond cydweithia pawb er dedwyddoli yr oll yn dymmorol ac yn ysbrydol. Daethum i wared yma yn bresennol ar fusness perthynol i'r eglwys, ac i hyfforddi y Saint yma; ac nid yw anmhosibl y deuaf drosodd i Frydain etto, pan y caf hamdden i orphwys diwrnod cyfan. Etto bydded hyny yn ol ewyllys yr Arglwydd, a chynghor fy mrodyr.

"Hysbyswch Capt. D. Jones droswyf fi fod baneri Sion yn hoeledig ar ben yr hwylbren, yn chwyfio yn brydferth uwchben meibion Joseph, ac yn lloni eu wynebau pruddion gyda gradd helaeth o obaith fod "yr hafddydd oddiuchod wedi gwawrio arnynt hwythau." Fy anerch gwresocaf ato ef a'i deulu, ac hefyd at yr holl frodyr a'r chwiorydd dros y rhai y gosodwyd ef i lywyddu. Y goreuon o fendithion y nefoedd â'u cysgodo,—dyhidled ei ffafr ef ar fynyddoedd Cymru, fel y gwlith ar fynydd Hermon, neu y cawodydd o wlith iraidd ar fryniau Sion. Cofiaf Scotland hefyd, y brawd Richards, a mil ereill cystal ag yntau. Eu Duw a'u bendithio.

"Anerchwch yr holl frodyr a chwiorydd duwiol a hoff, yn serchus droswyf fi; y rhai sydd yn Lloegr, Scotland, ac yn Nghymru.

"Ydwyf, eich brawd yn y Cyfammod Newydd,

"ORSON HYDE."

---

## ANERCHIAD AT Y SAINT.

ANWYL SAINT,—Unwaith etto, wele ni drwy gyfrwng y *Prophwyd*, ac yn daerach nag o'r blaen, yn galw eich sylw yn ddifrifol am gynnorthwyo y Saint sydd yn yr anialwch. Coffâwn chwi am ein hadd-

unedau iddynt, drwy alw eich sylw at yr hyn a ddywedwyd o'r blaen am eu hamgylchiadau trallodus a dyoddefus ar eu taith hirfaith. Coffâwn chwi am y berthynas ag sydd rhyngom â hwy drwy rwymyn y cyfammod newydd, er annogaeth i gyflawni ein dyledswydd a'n braint tuag atynt yn y cyfyngder presenol; ac, mai ein dyled yw eu cynnorthwyo, nid â'n gweddiau yn *unig*, ond hefyd drwy "ddwyn beichiau ein gilydd," canys "ffydd heb weithredoedd marw yw." Cymhella y ffaith mai er mwyn ein cysur a'n diogelwch, ïe, ein hiechydwriaeth dymmorol ac ysbrydol ni, yn gymmaint â'r eiddo neb ereill, yr ymdrechant hwy; ac felly dylem ddwyn yr hyn a allwn o'r baich mawr hwn. Hefyd, profa sefyllfa derfysglyd a thruenus y byd yn gyffredinol, a'n gwlad ninnau yn neillduol, i'r "rhai y rhoddwyd i adnabod arwyddion yr Amserau," fod rhyddid, mwyniant, ïe, mewn gair, holl gysur plant Seion, yn dibynu ar eu llwyddiant hwy i adeiladu pyrth merch Seion, yn ddiddosfan i'w plant, pan eu gorfodu i ffoi o gyffiniau y Babilon fawr a'i holl ferched, cyn y delo y dyddiau blin, yn y rhai y tywalltcr phiolau digofaint Duw arnynt. Coffâ yr holl erlid, y darlithio, y camgyhuddo, y bygythio, a'r ymosodiadau creulon a diachos sydd arnom yn y dyddiau rhain, yn enwedig yn y cylchoedd hyn, fod yr ysbryd hwnw a feddwa Babilon â gwaed Saint, yr awrhon yn gweithio yn brysur yn ei phlant hi i gyflawni mesur eu hanwiredd; ac i fod yn wrthrychau o gyfiawn farnau Duw arnynt; a diau y cynnydda eu cynddaredd yn gyfesur i fel y cynnydda duwioldeb y Saint, a mawr allu Duw yn eu plith, mewn mannau ereill heblaw yma. Coffâ yr oll ni mai dyeithriaid a phererinion ydym ni, hyd y nod yn ngwlad ein genedigaeth, ac nad oes i ni yma ddinas barhaus yn eu plith hwynt, ac yn profi mor amlwg â'r haul yr anghenrheidrwydd anhebgorol sydd i ni i sicrhau ein rhan yn y "ddinas barhaus, saer ac adeiladydd yr hon yw Duw," ac nad oes i ninnau amser i'w golli os mynwn "yr orphwysfa sydd etto yn ol i bobl Dduw." Diau y bydd ar y Cymry gymmaint o anghen am dani, ac mor gynted â nemawr genedl. Cofiwn mai ein gweision a'n rhagredegwyr ni yw y rhai sy'n gofyn ein cymhorth yn awr, a dïau mai ein lles fydd eu cynnorthwyo. "Canys yn Mynydd Seion, ac yn Jerusalem, y bydd gwaredigaeth." Wel, bydded i'r holl ystyriaethau hyn ein cymhell i'w helpu hwynt yn mlaen â'n holl egni. Nid oes nemawr o sylltau wedi cael eu cyfranu iddynt gan y Cymry er's amryw fisoedd, fel y mae yn ofidus genyf hysbysu; ac y mae ffyddlondeb a pharodrwydd blaenorol y Saint, yn ein cymhell i feddwl mai arnom ni yr oedd y bai am fod mor ddystaw am y peth, neu efallai ar y gwahanol swyddwyr, drwy beidio rhoddi y cynllun a wnaed i'r dyben hyn mewn gweithrediad. Taled y Saint i'w llywyddion yn ol eu cyfleustra, ac mewn llyfr pwrpasol i hyny, rhodder enw pob cyfranwr a'r swm a dalo ar ei gyfer, a bydd hyny mewn coffadwriaeth yr amser dyfodol, a'r enwau i'w cael yn "llyfr cyfraith yr Arglwydd." Mae'n wir fod y Gymdeithas Genadol yn galw yn uchel am ein cynnorthwy, er lledaenu yr efengyl yn mhlith ein cydgenedl; ond yn ngwyneb yr amgylchiad presenol, beth yw cydgenedl i'w cystadlu â brodyr a chwiorydd anwyl, pa rai sydd yn rhwymyn yr un cyfammod tragwyddol—plant yr un tad nefol, a chyd etifeddion o'r un orphwysfa nefol?

Brodyr o flaen estroniaid,—plant Duw o flaen plant y byd, ac *adeiladwyr* Seion o flaen ei *gwawdwyr*, fyddo ein barwyddair ni oll. Etto meddwn, chwi swyddwyr—chwi Saint hynaws yn anad pob peth arall yn awr, cofiwch y galwad hwn, a chydymdrechwn oll i gyflawni ein hadduned fel cenedl. Meddianydd yr holl ddaear a ad-dalo ar ei ganfed i bawb a roddo, meddwn.

---

## ARWYDD Y PROPHWYD JONAH.

MR. GOLYGYDD,—Mae pobl y wlad hon yn ceisio arwyddion, ond nid ydynt yn cael yr un ond "arwydd y prophwyd Jonah." Etto nid oes neb yn derbyn hòno ychwaith! Nid yw pawb yn deall pa fath arwydd oedd hòno. Meddylia rhai mai am fod y prophwyd wedi bod yn mol y pysgodyn yr oedd yn arwydd, ond fe ddywedodd Crist, "felly bydd Mab y dyn i'r genedlaeth hon." Am hyny, os gwelodd y Ninifeaid Jonah wedi bod yn mol y pysgodyn, ni welodd y genedlaeth hòno mo Grist wedi cyfodi, canys fe ddywedodd ei hun, "ni'm gwelwch i mwyach, a'r byd ni'm gwel mwy," a dywedodd ei fod wedi ei roddi i'w wneuthur yn amlwg i'r *tystion etholedig*, &c. Os felly, nis gwelodd y genedl ef wedi cyfodi; am hyny, nid y wyrth oedd yr arwydd. Ond Crist a ddywedodd mai gwrando ar bregeth Jonah a wnaeth y Ninifeaid, ac mai am hyny y condemniant y genedlaeth hono. O ganlyniad, pregeth Jonah oedd yr arwydd, ac nid ei lyncu gan y pysgodyn. Felly Crist hefyd, fel y dywedodd Esay, "Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi yn arwyddion ac yn rhyfeddodau yn Israel." Gan hyny, eu dyfodiad fel cenadau at y bobl oedd yn eu gwneyd yn arwyddion, onide?

Fel hyny y mae yn yr oes hon. Mae dynion wedi eu danfon gan Dduw i bregethu y bregeth a lefarodd efe wrthynt, ac nid dim a ddychymmygont hwy; a hyny nid mewn godidogrwydd ymadrodd, nac mewn ymddangosiad allanol, canys os oedd golwg drwsiadus ar Jonah yn cychwyn, yr oedd ei wisg wedi ei llychwino a'i maeddu yn mol y pysgodyn. Yn nesaf, gwyddai Jonah beth a bregethai: felly gweision Duw bob amser. Nid un fel hyn, a'r llall fel arall, ond pob un yr hyn a dderbyniodd wrth gychwyn.

Beth yw yr achos fod dynion yn myned drwy y wlad yn yr oes hon, a hyny heb na phwrs na mawredd, ond rhai gwael yr olwg, a diddysg, etto yn tystio eu bod wedi eu danfon gan Dduw i rybuddio y bobl am y tro diweddaf cyn dyfod ei farn ef. Beth, meddaf, yw y dynion hyn? Yn ddiau, arwydd hynod yw hyn! Pwy na ddywedai, Beth a all hyn fod? Pwy na dderbyniai eu gair gyda phob parodrwydd meddwl, "gan chwilio beunydd yr ysgrythyrau, i edrych a yw y pethau hyn felly." Am hyny, gwybydded y Cymry yn ddiogel ddanfon o Dduw ei weision hyn i bregethu i chwi yr efengyl hon, yr hon a dystia pethau mwy na hyn i bwy bynag a'i derbynia.

Ysbryd yr Arglwydd fel tân sydd yn llosgi,
Y dyddiau diweddaf a wawriodd i ni;
Yr Arglwydd anfonodd, o wlad y goleuni,
'R efengyl drag'wyddol, a'i dawn gyda hi.

Cafwyd gwirionedd yn mynydd Cumorah,—
Daw bechgyn y goedwig i dderbyn y ddysg;
Ac wedi eu gwareiddio, ar dir California,
Hedd a llawenydd fydd mwy yn eu mysg. R. Evans.

---

## Y DIWEDDAR BARCH. JOHN WESLEY YN FORMONIAD!

Am y doniau ysbrydol a fwynhai eglwys Iesu Grist yn nyddiau yr apostolion, dengys yr ysgrythyrau yn rhy amlwg i neb wadu hyd heddyw, eu bod yn eu meddu pryd hyny, megys yn 1 Cor. xii, &c. Dangosant mor amlwg mai eu dyben a'u heffaith oedd i berffeithio y Saint yn y fuchedd hon, Eph. iv, a gwelir yn yr un ymadrodd a manau ereill eu bod yn anghenrheidiol yn yr eglwys hyd oni byddai yr holl Saint wedi dyfod i undeb y ffydd gristionogol,—wedi eu bedyddio a'r un bedydd, eu diodi oll a'r un ysbryd, a dyfod i gydsynied yr un egwyddorion, ac i rodio ar hyd yr un llwybrau, neu yrfa ysbrydol, nes cyrhaedd y nod a osodwyd o'u blaen, sef taledigaeth y gwobrwy. Mae yr addewidion o'r pethau hyn, meddwn, mor eglur ag yw yr ammodau ar ba rai eu ceffid gynt, ac er hyny oll cyduna yr oll braidd o'r rhai a honant yr ordinhadau i wadu y doniau cyssylltiadol. Hònant hawl i'r pren, ond dywedant nad oes eisiau y ffrwythau yn awr. Nad oedd ar neb anghen am y ffrwythau daionus hyny ond cyd-oesolion yr apostolion. Ac mai yr unig ddyben y tyfodd y ffrwythau hyny ar y pren (neu yr eglwys) gyntefig oedd, nid i borthi enaid y Saint, ond i foddio llygaid y byd, ac i brofi fod y fath bren wedi bod. Oddiwrth yr hyn a ganlyn, gwelir fod y traddodiad hwn yn henach na Mr. Wesley, ac efallai cyn hened braidd â Calvin, Zuinglius, Menno, Peter Waldo, neu Melancthon, ond pa un bynag am hyny, y mae rhy boblogaidd o lawer yn awr, ïe, hyd y nod yn mhlith y rhai a ddygant fawr sel dros enw Mr. Wesley dduwiol-frydig, a gobeithiwn y bydd cynghor o enau eu tad yn llesiol i'w hargyhoeddi o afresymoldeb y fath haeriad, ac i'w dwyn i gredu mwy o egwyddorion yr hwn, er ei fod wedi marw sy'n llefaru wrthynt yn hyn etto. Dyfynwyd yr hyn a ganlyna o'i 94 bregeth ef ar y "*Ffordd mwy rhagorol.*"

"Nid ymddengys fod doniau goruwch naturiol wedi parhau yn gyffredin yn yr eglwys, ond hyd yr ail neu y drydydd ganrif. Anfynych y clywwn am danynt ar ol y cyfnod andwyol hwnw, pan y galwodd yr ymerawdwr Cystenyn ei hun yn gristion, a thrwy ei fympwy hunanol iddo feddwl lledaenu Cristionogaeth drwy bentyru cyfoeth, anrhydedd, a nerth ar y Cristionogion yn gyffredinol. O'r amser hyn darfyddasant braidd yn hollol; o leiaf, pur anfynych y clywir am danynt wedi y pryd hyn. Nid yr achos iddynt ballu oedd, fel y dywed y cyffredin, *(vulgar)* am nad oedd eu heisiau mwyach, oherwydd fod yr holl fyd wedi cofleidio Cristionogaeth. Mae hyn yn gamsynied truenus! Nid oedd yr ugeinfed ran o'r byd yn gristionogion pryd hyny, hyd y nod mewn enw. Y gwir achos [na buasai y doniau gwyrthiol yn parhau] yw oherwydd oeri o gariad llawer—ni feddai y cristionogion fwy o ysbryd Crist nac oedd gan y paganiaid ereill! Mab y Dyn, pan ymweledd â'i eglwys, ni allodd braidd gael ffydd ar y ddaear. Dyma yr achos gwreiddiol na chafwyd doniau goruwchnaturiol yr Ysbryd Glân yn hwy

yn yr eglwys Gristionogol, oherwydd ddarfod i'r Cristionogion droi yn baganiaid wedy'n, heb ond y llythyren farw yn unig yn ngweddill."

Nid nyni yn unig, gwelir, sy'n galw y rhai a wadant yr anghen o'r doniau ysbrydol yn "*vulgar,*" ac yn "camsynied yn druenus;" ond wele Mr. Wesley barchus yn dweyd hyny, ïe, hyd y nod uwchben ei blant camsyniol ei hun; ac onid yw yn llawn bryd iddynt hwythau ddychwelyd ar ei alwad i'r eglwys sydd yn meddu y doniau hyny, fel y mae yn ddiddadl yn ein meddwl ni y gwnaethai efe pe cawsai y cyfleusderau ag a fwynhant hwy? Ei onestrwydd ef a'n cymhella i gredu felly am dano.

---

## Y DONIAU YSBRYDOL.

Mae ein gohebydd medrus, "Daniel ap Iago," yr un farn a Mr. Wesley am y doniau, gwelir, er nad yw y naill, mwy nag yr oedd y llall, mewn cysylltiad â Mormoniaeth. A phwy, yn wir, ag a broffesa gredu yr ysgrythyrau, na chydsynia am yr hyn sydd mor amlwg!

"Syndod mawr os oes undyn—yn Walia,
Na wel hyn fel llinyn:
Dyma rym pob gorchymyn,
Ewyllys da, a lles dyn."

"Fe roddodd Duw arwyddion o fewn ei eglwys gynt, 1 Cor. 12, 28.
Er mwyn ei chadw'n drefnus a hwylus ar ei hynt; Eph. 4, 12, 13.
Ond yn yr oes bresennol maent megys pinau drain,
Crefyddant yn esmwythach a rhwyddach heb y rhai'n.

A chan i Dduw eu rhoddi o'i wir anfeidrol ras,
Gwae'r neb a fo'n rhyfygu trwy geisio'u tynu ma's;
Pwy bynag na fo'n arddel y doniau oll yn llym,
Nid yw ond rhith o grefydd, ac wedi gwadu ei grym. 2 Tim. 3, 5.

I bwy y mae'r addewid? Oes lle i gael gwybod hyn?
Oes, oes, o fewn y 'sgrythyr i'w wel'd mewn dû a gwyn:—
I chwi a'ch plant yn gynta', ond dyma newydd gwell, Act. 2, 38.
Chwi welwch mae'r addewid yn cyrhaedd pawb yn mhell. 39.

Tra fyddo Duw yn galw, y mae'r addewid hon
Yn gadarn yn ei reol fodd breiniol ger ein bron;
Ond er mai Duw sy'n galw, mae miloedd yn ein hoes
A wada'r addewidion gan greulon dynu'n groes. 2 Tim. 4, 1.

Mae traddodiadau dynol heb reol o'r iawn ryw, 2 Tim. 4, 3, 4.
Yn lle mwynhau rheolau a deddfau pur ein Duw,
Yn arwain rhai i wyrni, a phob rhyw gulni câs, 2 Pedr 2, 1, 3, 12—19.
A'u dala ynghanol dwlni, gan groesi trefen gras.

Pwy bynag fyddo'n deall y 'sgrythyr fel y mae,
Cyhoeddir uwch eu penau, bob melldith ffol a gwae. 2 Pedr 2, 10.
Mae dernyn esboniadol yn boddio aml un
Yn well na'r addysgiadau o enau Duw ei hun. Judas, 8, 15, 16, 18, 19.

Os sonia neb fod doniau i'w cael tu fewn dy byrth,
Dechreua'r bobl waeddi, paham na wnewch chwi wyrth ?
Fel hyn ceir gwel'd eu hysbryd, a'i brofi yn ddifeth,—
Mae hanes eu tad diafol yn gofyn yr un peth. Mat. 4, 3.

Ni cheir, 'rwy'n siwr, ddim gwyrthiau, er boddio mympwy dyn ;
Pan y gofynwyd iddo, fe ballodd Crist ei hun. Marc 8, 11, 12.
Yr Ysbryd Glân sy'n rhoddi y gallu yn ddible,
I'r sawl mae'n ewyllysio, a'r man y myno 'fe. 1 Cor. 12, 11.

Dywedwch beth yw'r achos, onid ydyw hyn yn chwith,
Na chredem ni brophwydi tra fyddont yn ein plith ?
Yn mhen rhyw faith ganrifoedd, fe'u credir gan bob gradd,
Ond os bydd rhai'n ein canol, nid llesiol heb eu lladd. Mat.23, 30—34.

Darfyddai ffol ddadleuon rhwng pawb o ddynolryw,
Pe cym'rent hwy eu dysgu, yn deg gan Ysbryd Duw, Eph. 4, 3—18.
A derbyn y dystiolaeth lefarodd ef, bob darn ; Marc 16, 16—18.
Mae'n gadarn ar y ddaear, mae'n gadarn yn y farn." Mat. 24, 35.

---

## CATECISM Y SAINT.

TON—"*Prophwyd Daniel.*"

Pwy sy'n aflonyddu'r ddaear,
A'n pregethu a'n holl lafar,
Ac yn cael am hyn eu gwatwar ?
Saint y Goruchaf Dduw.

Pwy yw'r sect neu'r blaid ysgymun
Ag y d'wed pawb i'w herbyn,
A phob dirmyg yn eu canlyn ?
Saint y Goruchaf Dduw.

Pwy gasêir gan y cenedloedd ?
Am ben pwy y chwardda'r bobloedd ?
Pwy a geblir gan y lluoedd ?
Saint y Goruchaf Dduw.

I bwy ceisir gan y doethion
Am ddoethineb ac arwyddion,
Yn lle credu'r 'fengyl raslon ?
Saint y Goruchaf Dduw.

Pwy dywylla ddeall dynion
Sy'n proffesu bod yn ddoethion,
A thystiolaeth Iesu tirion ?
Saint y Goruchaf Dduw.

Pwy ystyrir yn "ysgubion,"
Ac yn "sorod byd," gan ddynion ?

Pwy sy'n dwyllwyr ac ynfydion ?
Saint y Goruchaf Dduw.

Ond pwy fedda yr addewid
Roes yr Arglwydd o'i Lân Ysbryd;
Yn ei amryw ddoniau hyfryd ?
Saint y Goruchaf Dduw.

Pwy gânt ysbryd prophwydoliaeth,
Ffydd, doethineb, a gwybodaeth ?
Pwy lefarant â thafodiaeth ?
Saint y Goruchaf Dduw.

Pwy trwy'r Ysbryd gân ganiadau ?
I bwy rhoir i wneuthur gwyrthiau,
Iachâu cleifion, a phob doniau ?
Saint y Goruchaf Dduw.

Pwy sy'n meddu apostolion,
A' phrophwydi, ac athrawon,
I berffeithio eu dyscyblion ?
Saint y Goruchaf Dduw.

Pwy sy'n dysgwyl cyd-ymgasglu,
Yn wr perffaith, fel yr Iesu,
A byth gydag ef deyrnasu ?
Saint y Goruchaf Dduw.

Pwy, gan hyny, ddylent beunydd,
Fyw'n gytun, a charu 'u gilydd,
Ac i ddiolch i'w Creawdydd ?
Saint y Goruchaf Dduw. J. D.

---

## NEWYDDION ODDIWRTH YR HENURIAID.

DYWENYDD mawr fuasai genym osod dyfyniadau o lythyrau cysurlawn ein brodyr teithiol o'r gogledd o flaen ein darllenwyr, pe caniatasai ein colofnau, ond rhaid talfyru. Cawsom amryw lythyrau oddiwrth ein hanwyl a'n ffyddlon frawd Abel Evans o wahanol fanau. Yr hynodrwydd penaf sydd drwyddynt oll yw ymlyniad dieithriad y Saint braidd yn mhob man wrth yr efengyl drwy bob rhwystrau. Mae eu cynnydd mewn cariad a doethineb, ynghyd â phob grasusau, yn amlwg iddo bob tro yr ymwelo â hwynt, ebe efe, a dyma fel y dylai fod gyda phawb sydd dan arweiniad Ysbryd y gras. Dyweda fod llawer wedi cael eu bedyddio yn ddiweddar drwy wahanol siroedd y Gogledd. Mae yr henuriad R. Evans yn ddiwyd iawn yn Sir Fon, ac wedi bedyddio rhai yno yn ddiweddar. Da fyddai genym weled wyneb ein brawd hoff tua'r Deheudir am enyd y gauaf hwn, os cydwela. Yr henuriad Eliezer Edwards a ddyry newyddion gobeithiol iawn o Sir Gaernarvon, a dywed iddo yntau fedyddio rhai; daw ar ei dro i ymweled â'i frodyr a'i chwiorydd yn y Deheudir cyn hir. Mae yn codi hiraeth ar ein calon am weled y Saint siriol oll pan yn ysgrifenu fel hyn eu hynt, ac yn codi hiraeth mwy etto am weled y dedwydd ddydd pan y cwrddwn oll yn Seion, heb neb yn tynu yn groes, ond pawb â'i delyn mewn hwyl i ganu iddo ef, yr hwn a'n carodd, ac a'n golchodd yn ei waed, &c. Brysio wnelo. Amen.

## HYNT YR EGLWYSI.

Merthyr Tydfil. Mae y fam ganghen hon yn myned yn y blaen yn gysson a llwyddiannus. Er nad mor gyflym, etto yn fwy ffyddiog, gwresog, ac unfrydol, nag erioed, ac mewn mwynhad cyflawnach o'r doniau ysbrydol, ac addewidion ereill y Pen mawr i'w eglwys. Derbyniwyd pump i'r eglwys yr wythnos hon eisoes, ar eu proffes o'u ffydd a'u hedifeirwch.

Dowlais. Ni wyddom braidd beth i'w ddywedyd am y dref hon! Mae hi yn gynwrf cyffredinol drwyddi oll braidd, fel crochan berwedig, rhwng darlithoedd Mr. Roberts, Davies, Jones, a Pheirch. ereill, o'u pwlpudau (pa rai y ceir adolygiadau o honynt mewn Traethawd, a'r Prophwyd); ac heblaw y rhai hyn, y mae rhyw nifer o ddynion cecrus yn dilyn pregethwyr y Saint, ac yn eu haflonyddu yn anfoneddigaidd lle bynag y byddont yn pregethu. Ac yn mhlith ereill mae rhyw ddyn o'r enw Mr. Evan Lewis (er nad adwaenem ni ef o holl bobl y byd), yn parhau i gynnal cyfarfodydd ar hyd gonglau yr heolydd i ddarlithio yn erbyn y Saint, a chyhoeddi yr hen gamgyhuddiadau arferol yn erbyn Joseph Smith. Ond wedi golchi ar yr hen stock yna drosodd a throsodd, nes suro ar feddyliau ei wrandawwyr, dywedir ei fod mor selog ag y medro yn traethu chwedlau disail am ein cymmeriad ninnau; er enghraifft, y stori a ddywedodd uwchben torf, sef, "bod benyw yn Dowlais yn barod i dyngu ddarfod i ni geisio ei threisio;" ond erbyn i ddynion ereill o Dowlais fyned a holi y fenyw hòno, addefodd nad oedd gair o wir yn y peth! Ni fuom yn ymddyddan cymaint â gair â hi erioed, a sicrhawn nad adwaenem hi pe cyfarfyddem â hi ar yr heol! Beia llawer arnom am oddef y fath enllib a chabldraeth yn ddigosp, ac etto byddai mwy yn barod i feio arnom pe gwneid hyny, mai dial a fyddai, ac egwyddor anghristionogol, &c.—Am y Saint sydd yn Dowlais, maent yn fwy penderfynol ac unfrydol yma, fel yn mhob man arall braidd, pa fwyaf eu herlidir. Maent yn llawen fwynhau y doniau ysbrydol a grasusol a addawwyd iddynt, a'r hyn a'u nertha i ddyoddef pob ymosodiad yn llawen.

Cynnadledd Sir Fynwy, Mae rhyw fywiogiad cynnyddol drwy'r gynnadledd hon yn ddiweddar, ac amryw wedi ufyddhau i'r efengyl, yn enwedig yn Nantyglo. Clywsom am ychwaneg o ffrwythau gelyniaethus Sectariaeth tua Kendall yn ddiweddar. Dau ddyn, y rhai a broffesent fod yn gwnstebli o blwyf arall, a gydiasant mewn tri o bregethwyr y Saint, y naill ar ol y llall, pan yn pregethu allan ar y Sul, a thorf fawr yn gwrando yn foneddigaidd hyd oni ddaeth yr aflonyddwyr anfoesgar ac anghyfreithlon hyn yno, a than rith o awdurdod wladol cloisant y tri pregethwr i fyny!! Pa hyd y goddefa y Duw cyfiawn y fath ormes a thrais, dan yr enw o Gristionogaeth? Gollyngwyd y dynion allan o'r carchar rywbryd, ac heb na iawn nac arholiad, na gwybod paham, hyd yn hyn.

Llanelli. Mae yr henuriaid William Hughes, Morgan Richards, ac ereill, yn ddiwyd a llwyddiannus yma, ac yn y cylchoedd, nad faint a bregetha ac a gyhoedda Golygydd y *Diwygiwr* mai rhai anllythyrenog, ac mai peth bach disylw yw eu crefydd, &c. Oes, y mae yno o ddeg-ar-hugain i ddeugain wedi cael eu bedyddio ganddynt yn y ddau fis diweddaf, a bron cymmaint â hyny yn y ddau fis o'r blaen, hyd nes y mae yno dros driugain o Saint yn awr, a'r rhai hyn bron i gyd wedi bod gyda gwahanol enwadau y dref hòno, ac yr oeddynt, mae'n debyg, yn cael eu hystyried o gymmeriadau difrycheulyd cyn y caffent aelodaeth gyda hwynt, a'r rhai hyn oll wedi cymmeryd eu "twyllo" gan ddyn anllythrenog a dwl, aiê, Mr. Rees? Os eu twyllo a gawsant, mawr fu eich esgeulusdod chwi tuag atynt am flynyddau, onide dysgasech

hwynt yn well na chael eu twyllo gan y fath ddynion a hyny! Mae un o ddau beth yn addefedig yn eich cyhuddiad yn ngwyneb y ffaith o'u llwyddiant, naill ai eich esgeulusdod chwi, neu ynte mai dynion anllythyrenog yw y rhai mwyaf effeithiol i argyhoeddi dynion. Yr olaf oedd wir gynt; er enghraifft, cofier "pysgotwyr" môr Galilea, a phaham nad felly yn awr? Wel, peidiwch ymffrostio o'ch dysgeidiaeth golegawl mwy ynte, ac na feiwch ar anllythyrenogrwydd pregethwyr mor llwyddiannus. Pwy ond Mr. Rees a waeddai yn Nghapel Parks ychydig yn ol,---"Ni ddylid barnu dim cyn yr amser. Pan fyddom yn barnu yn mlaenllaw, mae ein barn yn anghywir, ac yr ydym yn tynu camgasgliadau." Ac y mae efe wedi gwirio hyny ei hun yn amlwg iawn drwy ei ddedfryd farwol ar y peth bach disylw hwnw sydd yn denu bryd a serch tua deg-ar-hugain o'r calonau gonestaf a doethaf sydd oddiamgylch iddo ef. Ie, a llawer o'i gapel ef hefyd, heb yn wybod iddo, debygid ar ei siarad ef. Ond y mae pobl Llanelli yn rhy gall, ac yn ystyried gormod o werth eu heneidiau i gymmeryd eu perswadio am y goleuni mai tywyllwch yw, ac am y gwirionedd mai twyll yw, serch bod holl offeiriaid Baal ar furiau Llanelli yn gwaeddi hyny.

PONT-Y-BEREM. Mae yr henuriad Howell Williams, ac amryw ereill, yn llafurio yn llwyddiannus yn y cylchoedd hyn oddiamgylch. Maent yn cael gwrandawiad astud a lluosog, a llawer yn credu yr efengyl, ac yn galw am ychwaneg o bregethwyr. A da fyddai genym pe gallai rhai o'r offeiriaid sy'n y cylchoedd hyn fyned yno i'w cynnorthwyo. Canmolant bobl y wlad hòno yn fawr, am eu boneddigeiddrwydd a'u tiriondeb. Bedyddiwyd saith yn y cylchoedd hyny yn ddiweddar, yn ol a glywsom, a dysgwyliwn glywed am ychwaneg yn feunyddiol.

CWMAMMAN. Mae dau henuriad, ac un offeiriad, wedi ymfudo yma i fyw ac i weithio, yn bwrpasol fel y gallont bregethu efengyl Crist yn rhad i'r bobl ddaionus hyny; a mawr y gwrandawiad a gânt, a'r sirioldeb a ddangosir iddynt gan bawb braidd; ac yn ol a glywwn o bob man arall bron, y mae y werin, ar ol bod cyhyd yn croesdynu o barthed i sectariaeth, wedi diflasu; a phan yr agorant eu clustiau i glywed yr efengyl dragwyddol hon, gwaeddant allan weithiau, "Dyma hi," ac atebwn ninnau, "Ie, gyfeillion anwyl, dyma hi," mewn gwirionedd! Dyma y grefydd ddwyfol yr ymchwiliech mor awyddus am dani; cofleidiwch hi, a chwi a gewch drysor y trysorau ynddi.

YSTRADGYNLAS. Mae yma a'r cylchoedd amryw wedi eu bedyddio hefyd, ac yn llawenhau yn eu breintiau. Mae yma bedwar o bregethwyr yn llafurio hefyd yn ddiwyd a gwrol.

CWMBYCHAN. Mae yma gynnydd cysson, ac y maent yn bedyddio yn fynych yn y cymmydogaethau. Mae yr holl swyddwyr mewn undeb a chariad drwy yr holl gynghor, a'r Saint mewn cariad yn mwynhau doniau helaeth, ac ar gynnydd parhaus.

SIR BENFRO. Mae yr henuriad J. Morris yn bedyddio yma yn awr ac eilwaith, ac weithiau yn nghanol erlidigaeth boeth a lluchio cerig; ond er y cwbl, yn mlaen yr â y deyrnas yma fel manau ereill, nes y bo pawb wedi cael cynnyg o honi.

CAERFYRDDIN. Canmolir sel a chariad y Saint hyn yn fawr i ni hefyd. a chlywsom ddarfod i'r henuriad B. Jones fedyddio yno yn ddiweddar. Yn mlaen, yn mlaen Saint anwyl, y mae genych luoedd o bobl onest, ac ewyllyswyr am y gwirionedd, o'ch hamgylch.

LLANYBYDDAR. Mae sel a ffyddlondeb y Saint hyn yn nodedig iawn yn ddiweddar, ac wedi bedyddio 10 neu 12 tua Brechfa, &c., er's ychydig yn ol. Yr Arglwydd grasol, yr hwn a ddechreuodd y gwaith dwyfol hwn yn ein plith, a'i cynnyddo fwy-fwy, ac a dywallto yn helaethach o'i Lân Ysbryd ar ei Saint.

## *HYSBYSIAD.*

---

Mae genym ar werth nifer o gyfrolau o'r

## CAPT. JONES AR FORMONIAETH, YN 1846.

*Ar werth, newydd eu rhwymo, a gellir eu cael gyda'r Prophwyd, neu fel yr arweinir am y prisiau canlynol:—*

| | | s. | d. |
|---|---|---|---|
| Wedi eu rhwymo mewn llian yn hardd .. | .. .. .. | 3 | 0 |
| " | Hanner rhwymo mewn croen llo .. .. .. | 3 | 6 |
| " | Mewn croen dafad .. .. .. .. .. | 4 | 0 |
| " | Y goreu o groen llo yn gyflawn .. .. .. | 4 | 6 |

---

*** *Atebir cwestiwn Thomas Jeremy yn y "Doctrines and Covenants," tud.* 330.

*** *Atebir D. Jones, Bagillt, yn "Doct. and Cov.," tud.* 200. *Hefyd yn y Prophwyd, Rhif.* 12, *tud.* 92.

*** *Erfyniwn ar ein holl ddosbarthwyr i ymbarotoi i settlo eu holl gyfrifon erbyn diwedd y flwyddyn, ac os bydd rhai llyfrau neu Brophwydi ar law na ellir werthu, i'w dychwelyd yn ol y pryd hyny.*

*** *Mae genym amryw o "Hanes y Saint," pris swllt, ar law, a gobeithiwn na fydd un o'r Saint heb feddu un o honynt.*

*** *Mae genym hefyd yr amrywiaeth o yn agos i ugain o fathau o draethodau o wahanol brisiau, o ddimai hyd dri swllt, pa rai a gyhoeddasom yn Gymraeg yn ddiweddar, ac a ellir eu cael os prysurwch.*

*** *Hefyd, amrywiaeth o lyfrau Saesonaeg, megys "Llyfr Mormon," a'r "Voice of Warning," "Millenial Star," yn ddwy wythnosol,* 3c.

*Crefwn amynedd ein Gohebwyr ereill am ychydig etto. Un bach yw ein Prophwyd, a llawer o ymosod arno.*

---

### CYNNWYSIAD.



---


MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

ARGRAFFWYD GAN J. JONES, RHYDYBONT.

# PROPHWYD Y JUBILI,

NEU

# SEREN Y SAINT.

RHIF. 17 ] TACHWEDD. [PRIS 2*g*.

## ADOLYGIAD

### AR DDARLITH Y PARCH. D. JONES, CAERDYDD, AR "ARDDERCHOGRWYDD Y GREFYDD GRISTIONOGOL."

*(Parhad o tudalen 154.)*

ER mwyn rheswm a chysondeb, peidiwch chwi a hòni "goleuni yr haul," tra wedi eich geni yn ddall, ac heb ddyfod i weled dim o'i oleuni etto. Na feddyliwch fod hyn yn ddywediad rhy galed, Mr. J.; canys eich gweithredoedd sy'n ei brofi. Mae eich addefiad na chawsoch afael ar ffynnonell y goleuni (sef drwy ysbryd y goleuni), ond ei chamgymmeryd am y llyfr, a gwadu ysbryd y datguddiad, yr hwn yn unig a oleuodd y Saint gynt, yn ffaith hefyd i brofi mai un o blant y nos ydych. A chan i chwi addef eisoes, fod gan "Joe" oleuni o'r un rhyw â goleu yr haul, gwell i chwi dderbyn hyny bach i ddechreu, nag aros yn y tywyllwch dudew yna yn hwy. Mae llwybr y cyfiawn fel y goleuni, yn cynnyddu fwy fwy hyd ganol dydd; goleuni canwyll fach a gaffai y Saint bach ieuanc gynt, yr hwn a gynnyddai, ac efallai mai felly goleu canwyll "Joe." Mr. J., peidiwch a cheisio ei diffodd, ynte, canys nid oes perygl i'r dyn gonest gael gormod o oleuni; twyllwyr sydd yn arswydo rhag y goleuni, fel yr arswydwch chwi rhag canwyll fach "Joe.". Nid rhyfedd i chwi waeddi mor uchel "gwrthodwch ei ganwyll, &c.," canys i'r graddau ag ei meddid dynoethai eich cyfeiliornadau chwi ac ereill; ond y syndod mwyaf oedd clywed dyn oedd a'i ddau lygad yn nghauad, ac yn nghanol y ddunos, yn gwaeddi nerth ei ben, "deuwch i oleuni haul!" Ac erbyn dyfod yno, beth oedd ei *haul* ond llyfr yn desgrifio yr haul a welai rhyw rai ereill er ys deunaw can mlynedd yn ol! Dychymygaf glywed rhyw un a feddai ronyn o *common sense* yn ceisio ei berswadio i ddod allan o'i dwll

du, ac agoryd ei lygaid, y caffai weled yr un haul yn awr ei hunan; ond gwrthoda y gwahoddiad, gan haeru fod y llyfr wedi ei osod yn lle yr haul, nad oes eisiau yr haul yn awr, ac nad oedd i oleuo ond trigolion yr oesoedd hyny yn unig; a bod darllen am dano yn "*ardderchocach*" yn awr na mwyniant o hono. A haera yn eofn, mai celwydd a ddyweda y llall, er fod ei lygaid yn gweled yr haul: a chawsai yntau ei weled, pe agorasai ei lygaid, ond er gwaethaf pawb ni wnai, rhag i ereill ddeall ei ddallineb blaenorol! Felly gwell gan Mr. J. berswadio pawb i aros yn y tywyllwch, na dyfod i oleu canwyll i ddechreu, yr hwn a gynnydda hyd nes y delo haul y cyfiawnder ar y cyhoedd, a llanw y byd o oleuni a gwybodaeth o Dduw, fel y toa y dyfroedd y môr. Wel, y mae trueni drosto, canys colledu ei hun y mae, druan! Yn nesaf, sylwer ar weddi Mr. J. "Diffodded canwyll Joe *fel y diffoddodd yntau.*" "Canwyll Joe," yw ei grefydd ef, o anghenrhaid; canys y mae goleuni ei ganwyll ef yn awr yn Dowlais, yn dychrynu ac anesmwytho Mr. J. a'i frodyr yn rhyfeddol. Yn nesaf, sylwer pa fodd y "*diffoddodd* (sef y bu farw), Joe?" Gwyddai Mr. J. a gwyr y byd, ie, gwyr y nefoedd hefyd, mai ei sathru gan lofruddion gwaedlyd a gafodd yn ngharchar Carthage, oherwydd ei grefydd. Wel "*felly*" mewn effaith y gweddia y "Parchedig" "efengylaidd" hwn ar bobl Dowlais, i ladd y Saint yn Dowlais, a phawb yn mhob man ag sydd yn proffesu yr un "goleuni" ag oedd gan Joseph Smith! Lladdwyd J. Smith ar ol rhoddi ei hun i afael a than nodded y llywodraeth, er mwyn cael arholiad teg; canys gwyddai y cyfiawnhasai cyfraith y wlad ef, a gwyddai ei lofruddion hyny; ac felly saethasant bedair o fwledi drwyddo ef a'i frawd cyn cael arholiad. Wel, *felly* y gweddiai Mr. J. yn ei ddull ef, am i ninnau gael ein llofruddio yn ein gwlad ni, oherwydd ein crefydd, ac heb gael arholiad. Dynion yw y canwyllau a ddanghosant ei oleuni yn ol cymhariaeth Mr. J. ac felly dynion a ddymuna efe ladd fel y lladdwyd Joseph Smith, ac nid ei oleuni, sef ei grefydd: canys ni ellir lladd hono drwy yr un "fel" heb hyny. Gwyddom trwy brofiad fod ugeiniau o'r rhai a broffesent yr un grefft bregethwraidd ag yntau, ac o dan ddylanwad yr un Ysbryd, wedi blaenori byddinoedd gwaedlyd o'r *mobs* i ladd ugeiniau o'n brodyr anwyl ni yn yr America. Ie, hwynthwy oedd yr achoswyr cyntaf o'r erledigaeth yno, megys y maent yma; hwy a barhasant i chwythu eu celanedd a'u camgyhuddiadau o'r pwlpudau, &c., nes cael plaid o'u canlynwyr yn ddigon creulon i'w dilyn hwynt i ladd y Saint, a llosgi eu tai uwch benau rhai ereill, ac alltudio miloedd o wlad eu genedigaeth heb arholiad na thrugaredd; ie. y Peirch. a wnaeth hyn oll; a hwy a gant y pleser o yfed gwaddod y cwpan erchyll o waed gwirion a lanwasant iddynt eu hunain. Ac etto, ceir brodyr undad iddynt, hyd yn nod yn Nghymru oleu, "yn ngwlad y Biblau," a "gardd Cristionogaeth," yn gweddio o bwlpudau am gyflawniad o'r fath *wholesale butchery* ar eu cyd-ddynion! Yn ceisio cau clustiau y werin rhag ein gwrando,—cau eu capeli rhag y rhai o'u haelodau a ddeuant i wrando:—yn codi 6c. y pen oddiar eu cyd-ddynion am gael dod i'w capeli i'n clywed ni a'n crefydd yn cael ein camgyhuddo! Ie y dynion hyn, wedi gwneyd pob peth a allant, ynt yn ceisio cau y Wasg rhagom, a'n hamddifadu o ryddid hyd y nod yr unig ffordd a'r a wyddom am dani yn y wlad, sydd yn rhydd i gyhoeddi dim i ni. Ac yn awr maent yn cyflawni y *picture* o'u herlidigaeth erchyll, drwy weddio ar i ni oll gael ein llofruddio fel y

cafodd Joseph Smith!! Ai tybied na buasai y "*court of inquisition*" pabaidd gynt yn gwrido, cyn gollwng y fath frawddegau dros eu pwlpudau? Darllenwch hi ar bapyr o flaen eich llygaid, a llygaid y cyhoedd, Mr. J. "Diffodded canwyll Joe fel y diffoddodd yntau," aie! Coffeir y frawddeg hon, Syr, a choffeir am ei hawdwr gan Saint duwiol, pan yn ymdrybaeddu yn eu gwaed rhwng mynyddoedd Cymru, ond odid. Coffewch chwithau, Syr, am dani, a bydd yn argraffedig ar gapan drws eich carchar tragwyddol, oni alwch hi yn ol ac edifarhau o'i herwydd, cyn iddi esgor ar ei herthygl gwaedlyd, sef tywalltiad gwaed gwirion. O Gymru anwyl! Beth yw y mater? Dysgeidiaeth fel hyn yn dylifo o bwlpudau ein gwlad! Beth! yn yr "oes oleu hon?" Beth fydd y canlyniadau cyn hir? bywyd pwy fydd yn ddiogel? Ust! braidd y mae griddfannau, a llais ein tadau trancedig pa rai a ferthyrwyd yma, wedi darfod adleisio ar galch greigiau ein gwlad,—y mae eu beddau hwy etto yn newydd dan ein traed; ac adfeiliadau y crogbrenau, y carcharau, a'r allorau lle eu haberthwyd hwynt, yn syllu yn ein llygaid etto. Ac er hyn oll, wele o'u plant eu hunain rai yn ceisio chwythu gwreichion yr hen farwor i losgi eu brodyr unwaed am eu crefydd. A gwaeth etto, gwnant hyn oll dan y fantell o "gristionogrwydd." Ie dyma yw "ardderchogrwydd Cristionogaeth," ebe y dynion hyn. O baganiaeth, cuddia dy allorau rhag cywilydd; canys nid yw dy ebyrth *anifeilaidd* i'w cystadlu ag ebyrth *dynol* y bobl hyn! Paham son ani y *chwil-lys* pabaidd, y derwyddon, na Juggernaut ei hun mwy, canys *dewisiad* y dioddefyddion hyny a wneid; ond, am allorau y rhyw hon o "Gristionogaeth," nis digonir hwynt ond â gwaed Saint, heb dreial nac amddiffyniad! Ac er cymmaint a ddrachtiodd o waed ein brodyr a'n chwiorydd duwiol tuhwnt i'r môr, wele y mae ei hoffeiriaid yma etto yn sychedig am yr eiddom ninnau. Ac y mae eu geneuau agored fel y bedd *yma* etto, yn gwaeddi "*moes, moes.*" Os gofynir "moes" pa beth, ceir yr ateb gan Mr. J. a'i bartneriaid, sef "moes" i ni ychwaneg o aberthau "*fel*" Joseph Smith, fel y gwneler yr un fath â hwynt. Diolchwch a'ch holl galon, chwi Saint anwyl, am gyfreithiau gwladol, i'n hamddiffyn rhag allorau ac offeiriaid y "Gristionogaeth" waedlyd hon!

Onid at y bobl hyn y cyfeiria yr apostol pan y dywed "oherwydd y rhai y ceblir ffordd y gwirionedd?" Diau fod lluoedd yn ein gwlad yn dweyd, wrth weled gweithredoedd anghristionogol ei phroffeswyr, ac wrth glywed darlithoedd a phregethau erlidgar y rhai a honant fod yn dysgu "Cristionogaeth," "Rhodder i ni anffyddiaeth yn hytrach na'r Gristionogaeth yna." Paham ymdrafferthu i adolygu haeriadau dyn mor waedlyd â hwn? Nid ystyriem yn werth sylw oni buasai eu honiadau o gristionogaeth, a'u dylanwad i waradwyddo y grefydd ddwyfol hono, ac i amddifadu ein cyd-ddynion o'r bendithion. Mynych y bloeddiai y darlithiwr hwn hefyd am gofleidio Cristionogaeth yn hytrach na Mormoniaeth, a pheidio cyffwrdd â Llyfr Mormon, ond i ddarllen y Beibl. Beth; onid ceisio gan y bobl gredu nad ym ni yn credu y Beibl yw hyn? Ond diolchwn i'w "frawd" o'i flaen am addef ein bod ni "yn credu yn Hen Destament," serch i hwn wadu hyny. Profed ein gwaith yn amddiffyn egwyddorion yr Hen Destament a'r Newydd, rhag gwadiad a gwyrdroadau yr ymosodwyr hyn arnynt, pa un a ydym yn credu yr ysgrythyrau, a'i nad y'm: a thystied hyny a'i nyni ynte ein cyhuddwyr yw yr inffideliaid, y twyllwyr, yr *idiots*, y sataniaid, y *baboons*, a'r

*mwnkeys*, ie, a phwy a deilynga yr holl gamenwau ereill a roddant arnom ni. A barned y darllenydd a'r cyhoedd, ai genym ni, ynte hwy, y mae y gristionogaeth ardderchog a ddesgrifia yr ysgrythyrau; canys wrth ei ffrwythau fyth yr adnabyddwch hi. Os ei ffrwyth hi yw difenwi eu cyd-ddynion â'r enwau parchus uchod; os ei ffrwyth yw gwadu ysbryd y datguddiad a holl ddoniau ardderchocaf Cristionogaeth, yna ganddynt hwy y mae hi. Os yw Cristionogaeth yn dysgu dynion i erlid, i gaethiwo rhyddid y Wasg, ac i godi terfysg, ac i annog dynion i lofruddio eu gilydd o'i herwydd, yna yn rhwydd yr addefwn mai hwy yw y Cristionogion, ac nad yw y Gristionogaeth Formonaidd yn gwybod dim am y pethau yna, nac yn dewis deall dim byth am grefydd a ddug y cyfryw ffrwythau. Ac awdwr mawr Cristionogaeth y Saint a'u gwaredo hwy a phawb, rhag y crafangau ac allorau y fath grefydd a'i hoffeiriaid. Ond os gwir geiriau yr hwn a ddywedodd, "chwi a fyddwch gas gan bawb er mwyn fy enw i." Os gwir yr egwyddor a ddysgodd sylfaenydd Cristionogaeth, sef "y neb a fyddo byw yn gyfiawn yn Nghrist Iesu a erlidir." Ac os "anghyfnewidiol" y grefydd hono fel yr addefodd Mr. Roberts, yna gwir yw mai y "Mormoniaid" yw yr unig Gristionogion a geir yn Nghymru; ac os anghyfnewidiol y pren, felly y ffrwyth. Ffrwythau Cristionogaeth gynt oedd y "doniau ysbrydol," paham nad felly yn awr? Ffrwyth arall y pryd hyny oedd, bod holl Phariseaid a gaugrefyddwyr yr oes yn ei chondemnio am dwyll, ac yn difenwi ei phroffeswyr am gau-brophwydi, dynion cythreulig, bradwyr yn erbyn y llywodraeth, penboethiaid, dynion annysgedig, ac ysgubion y byd, a sorod pob dim, &c. Paham nad yr un Gristionogaeth sy'n achlysur i'r cyfryw ei herlid mor debyg yn yr oes hon? Ystyria, ddarllenydd hynaws, onid yw crefydd y Saint yn dwyn ffrwythau go debyg i'r Gristionogaeth gyntefig? Oni bai ei bod hi o ddwyfol darddiad, nid tebyg y buasai dynion fel hyn yn ei herlid gymmaint. Da y cynghora yntau i gofleidio y Beibl, ac felly y dywedwn ninnau a'n holl galon, ond etto, meddwn, y mae cymmaint o wahaniaeth rhwng gwaeddi "cofleidiwch y Beibl," a chofleidio yr athrawiaethau a ddysga ag sydd rhwng "Cristionogaeth" Mr. J. a chrefydd y Beibl, neu Formoniaeth; a'r neb ni wela y gwahaniaeth hwn, tosturiwn wrth ei gyflwr. Ond, digon bellach o'r fath gau-gristionogaeth. Chwilier yr ysgrythyrau, ac ufydhaer i'w gorchymynion dwyfol, ac yna profa Duw mai gwirionedd yw "Mormoniaeth," ac mai gan y Saint y mae "Ardderchogrwydd Cristionogaeth," drwy gyfranu ei haddewidion a'i doniau dwyfol i'th feddiant. A addawa ein herlidwyr hyn? O, na wnant; hyny sydd am na feddant ysbryd "Cristionogaeth," na'i "*grym hi.*"

Dy ysbryd, Arglwydd mawr—
O anfon ef i lawr—i'm nefolhau;
Fel bo gwageddau'r byd,
Yn marw yn fy mryd,
A chwantau cnawdol, gydag ysbryd gau.

Cyfeiliornadau 'm hoes—
Dy air i'r rhai'n sy'n groes:—a moes i mi
Ryw adnewyddol nerth,
I'w gyru draw yn gerth,
A dangos hefyd werth—dy aberth di.

## DYFYNIAD O LYTHYR JOHN BOWEN O'R LLWYNI.

Crefwn addefiad i gyhoeddi y llythyr canlynol, oherwydd yr hyn yr egwyddor a gynnwysa; er nad ysgrifenwyd ef i'w gyhoeddi. Hawdd canfod oddiwrth ymchwiliad ei awdwr i'r ddwy ochr. pa un ai Bedyddiaeth ynte Mormoniaeth yw gwir Gristionogaeth. Gwelir hefyd effeithiau andwyol yr awduron sy'n cyhoeddi pob sothach yn erbyn y Saint.

"Anwyl Frawd,

"Y newydd goreu sydd genyf i'th hysbysu, yw fy mod i wedi cael fy medyddio "er maddeuant pechodau," gan Saint y Dyddiau Diweddaf, er dydd Sadwrn, wthnos i heddyw. Cofus genyt, fy mod i yn eu herlid yn selog pan ysgrifenais y llythyr blaenorol; gwnawn hyny o gydwybod, ac o sel dros eglwys Dduw, debygaswn i, a chredwn fy mod yn gwasanaethu Duw drwy hyny. Yr achosion a'm cynhyrfodd i hyn oedd ddarfod i mi glywed cymmaint yn eu herbyn o'r pwlpudau, ysgolion, ac hefyd o'r cyhoeddiadau misol, yn enwedig y *Bedyddiwr*, o'r hwn yr oeddwn yn ddosparthwr. Yn awr, yr wyf yn gwybod mai camgyhuddiadau yw yr oll, braidd, a ddarllenaswn i'w herbyn; a mawr yw fy ngofid ddarfod i mi roddi coel iddynt cyn chwilio droswyf fy hun. Yn awr, wedi i Dduw o'i ras a'i ddaioni ganiatau i mi amser i edifarhau, am galw "o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan i deyrnas ei anwyl Fab," sef i eglwys y Saint, dywedaf fi fel y dywedaist tithau wrthyf droion. "Diolch i Dduw am y tro." Dywedaf wrthyt ddarfod i Dduw roddi tystiolaeth i mi trwy ei Ysbryd Glân y tro cyntaf yr aethum i eglwys y Saint, "fod yno dy i Dduw a phorth i'r nefoedd." Mae amryw bethau yn tystio i mi mai eglwys y Saint yw gwir eglwys Iesu Grist; heblaw fod yr arwyddion ag a addawodd Iesu Grist yn canlyn y credinwyr yma, y mae ymdrechiadau unfrydol yr holl enwadau ereill, braidd, i'w herlid â chelwyddau, yn profi nad ydynt hwy o'r byd, onide y byd a garasai ei eiddo ei hun. Achosodd dy waith yn tystio mor ddifrifol wrthyf fod y Saint yn feddiannol ar y donian ysbrydol, i mi fanwl chwilio yr ysgrythyrau pa un a oedd hyn yn addawedig, ynte, fel y dywed ein dysgawdwyr ni oll, braidd, sef, "Nad oeddynt i barhau ond hyd ddiwedd yr oes apostolaidd, a hyny er sefydlu Cristionogaeth, ac nad oes eu heisiau yn awr, &c." Nid cyn i mi ddysgu credu yr ysgrythyrau eu hunain yn hytrach nag esponiadau dynion arnynt, y galluogwyd fi i'w ddeall. Darllenais Marc xvi; Act. ii, 38, 39; Rhuf. x; 1 Cor. xii; Eph. iv; a llawer o fanau ereill, lle y sonir am y doniau ysbrydol; a rhyfeddwn yn fawr at fy nallineb blaenorol, yn methu a gweled yr anghenrheidrwydd anhebgorol o'r doniau ysbrydol, a'r cynllun apostolaidd er bod yn eglwys i Dduw, yr hyn sydd yn amlwg i mi yn awr; ac yn y fan "nid ymrysonais â chig a gwaed," ond hysbysais i'm brodyr y *Bedyddwyr* fy mhenderfyniad i'w gadael hwynt, ac i ymuno â'r rhai a gredwn yn debycach i'r gwirionedd. Pan glywsant hyn; ac er i mi eu gadael am coron ar fy mhen, etto ni chefais gymmaint o erlidigaeth gan bawb yn ystod yr wyth mlynedd ag y bum gyda y Bedyddwyr, ag a ddioddefais ganddynt hwy yn yr wythnos hon eisoes. Maddeued y Duw grasol iddynt. Y rhai a broffesent fod yn gyfeill-

rion anwylaf gynt yw'm gelynion penaf yn awr, a hyny yn unig oherwydd i mi ufyddhau i orchymynion Iesu Grist yn ol yr ysgrythyrau; ac yn hyn gwirir geiriau Crist, sef "Chwi a fyddwch gas gan bawb er mwyn fy enw i." Ystyriaf yn awr ddarfod i mi golledu fy hun yn fawr drwy oedi ymuno â'r grefydd hon cyhyd, ac y mae tosturi yn llanw'm calon yn awr, pan ystyriwyf gynnifer o gannoedd a ddichon fod o'm hen frodyr etto, yn ymguddio yn y noddfâu celwyddog a gyhoeddwyd yn erbyn y Saint; a'm ddymuniad carediciaf ar bob un ohonynt ydyw yn ngeiriau Iesu Grist wrth Nathaniel, "*Dyred a gwel;*" a sicrhaf na siomir neb gonest ei egwyddor sy'n chwilio am y gwir, ag a ddelo i eglwys "Saint y Dyddiau Diweddaf;" canys y mae Duw gyda hwynt mewn gwirionedd. Buan y delo ein cenedl yn gyfan i gofleidio y grefydd odidog hon, yw'm gweddi.

"Mae Dafydd a minnau yn dy anerch di a'th deulu ynghyd a'r holl Saint yna. Ydwyf, dy anwyl Frawd,

JOHN. BOWEN."

---

## BEDYDD.

MAE cymmaint o ddadleuon wedi bod rhwng doethion y gwahanol bleidiau, a chymmaint wedi ei ysgrifenu gan y naill ochr a'r llall o honynt, fel nad ystyriwn yn fuddiol sylwi llawer ar y pwnc hwn yma; nid oherwydd nad oes ychwaneg genym i'w ddweyd nag a ddarllenasom ganddynt hyd yn hyn; nid am nad ystyriwn y dull o bwys mawr i'w iawn ddeall a'i arferyd ychwaith; ond oherwydd y fod genym ffordd well, sicrach, a byrach o lawer i derfynu yr hen ddadl hon, ac er ei bod yn ffordd hen iawn, etto y mae yn newydd hollol hyd yn ddiweddar i'r oes hon. Dyma yw profi y naill mor deg a'r llall, a'r hon a gymmeradwyir gan Dduw, a hòno yn unig a ddug y dyn gonest ei egwyddor yn feddiannol ar y doniau ysbrydol a addawodd Crist, Marc xvi, 17, 18, fel yr addawodd Crist,—"Od oes neb yn ewyllysio *gwneuthur* ewyllys fy nhad, efe a gaiff *wybod* am y ddysgeidiaeth, ai o Dduw y mae. ai myfi o honof fy hun sydd yn llefaru," ac yna, os na cheir yr addewidion a roes Crist i'r gwir fedyddiedig drwy y naill fedydd ar ol treial teg, cynghorwn bob dyn i dreio rhyw fedydd arall, ac felly o hyd nes y caffo afael ar y drefn a'i dug i afael a mwyaf o oleuni a bendithion. Gwrthwyneba rhai hyn, oherwydd fod yr ysgrythyr yn dweyd mai "un bedydd" sydd. Atebwn ein bod yn deall mai un *gwir* fedydd dwfr er maddeuant y sydd; ac yn ngwyneb fod pob un yn hòni mai eu bedydd hwy yw yr *un* hwnw yr anogwn bawb i gymmeryd eu bedyddio, nad waeth pa mor aml hyd nes y caffont yr un iawn yn sicr. Canys ni waeth pa mor aml neu anaml y caiff dyn ei fedyddio i'r ffurfiau ereill, ni ddichon gael ei ystyried yn fedydd yn ngolwg y nefoedd, oddieithr ei fod yr unig un hwnw a orchymynwyd gan awdwr y drefn. Bod dyn yn ufyddhau i ryw beth a eilw rhyw ddyn yn fedydd, ac ymorphwys arno nes gwrthod un gwell sydd annoeth, oherwydd pan geir gafael ar y gwir fedydd, profa hwnw ei hun, yn annibynol ar dystiolaeth ddynol; neu yn hytrach profa ei awdwr ef yn wir, trwy gyfranu y bendithion; a bod yn amddifad o'r cyfryw fendithion oll, ar ol cael ein bedyddio yw addef naill ai mai a rhyw

gau-fedydd y'n bedyddiwyd, neu y fod addewid Crist yn ddirym. Hefyd nid ym ni yn credu y fod Duw wedi meddwl i'r Beibl fod yr unig ffordd i ddynion ddyfod i adnabyddiaeth o'r gwirionedd. Dealler ni yn iawn! Ni feddyliodd Duw i'r byd fod, ni ddychymygodd yr apostolion y buasai y 19eg ganrif heb un reol eglwysig well na'u hysgrifeniadau hwynt. Gyda phob parch atynt, a chrediniaeth ynddynt, y dywedaf hyn yn eu geiriau eu hunain. Dywedent hwy mai yr eglwys (nid y Beibl) yw colofn a sylfaen y gwirionedd. 1 Tim. iii, 15.

Prif arweinyddion yr eglwys oedd y swyddwyr, pa rai oeddynt, ac a fyddant yn ysbrydoledig tra y parhao yn eglwys i Dduw, ac felly caffent eu dysgu pa fodd i weinyddu yn y bedydd, ac yn mhob ordinhad arall, nid gan ryw hen ysgrifeniadau o eiddo y tadau, nad faint o esiamplau llesol, ac o gynghorion buddiol a fyddai ynddynt; nid dyna eu safon, ond Ysbryd Duw yr hwn a ddygai bob peth ar gof iddynt ag a fyddai yn orchymyn ar orchymyn, llin ar lin, yma ychydig, ac acw ychydig, yn ol eu heisiau, dogn dydd yn ei ddydd. Dyma'r achos fod y dull o weinyddu ordinhadau ereill heblaw y bedydd mor anamlwg yn yr ysgrythyrau.

Etto am fedyddio fwy nag unwaith, nid yw hyny ddim yn gwneyd mwy nag un bedydd pe baid yn bedyddio ganwaith, ddim mwy nag y mae myned drwy yr un drws ganwaith i dy yn ei wneyd yn gant o ddrysau. A phe bai dyn wrth geisio myned i dy cyfaill wedi myned drwy ryw ddrws i dy arall, a fyddai hyny yn ddigonol ei fod wedi myned drwy ryw ddrws? Os na fyddai, ni fyddai ufydd-dod dyn i'r hyn a alwai rhai yn fedydd, yn ddigonol er myned i mewn i deyrnas Dduw; canys yn nheyrnas rhyw un arall y byddai yn ddiau, neu byddai fel y dywedodd Crist, wedi dyfod ryw ffordd arall heblaw drwy y bêdydd iawn, neu y drws cyfreithlon, a chaffai groesaw lleidr neu yspeiliwr. Mae y dyn a ddilyno y cynghor hwn ac a brofo bob math o fedydd nes cael yr un cywir, yn fwy rhesymol o lawer er ei les, na'r *bigots* a wrthoda y cywir, oherwydd ei ffug eu hun.—*Allan o'r Eurgrawn Ysgrythyrol.*

---

## ERLIDIGAETH DOWLAIS, A'R LLES A WNAETH.

Mae yr ystorom fygythiol a hunanymgynhyrfiol a fu yn y dref hon a'i chylchoedd yn ddiweddar, eisoes wedi myned heibio, a llewyrch goleuni efengyl y tangnefedd yn ymddysglaerio yn fwy tanbaid nag erioed. Mae llawer o'r rhai a goelient regfeydd "Simei" wedi diflasu ar ei ystoriau anwireddus a chableddus, ac yn dywedyd fel y dywedodd rhai pryd hyny, Beth a wna y ci hwn yn cyfarth, fy arglwydd? Ac yn awr, pan y caiff yr ail feddwl le ar yr orsedd, dywedant, gadewch iddynt chwydu allan eu hallendid hyd nes y delo eu hynfydrwydd yn amlwg i bawb.

Meddylid wrth wynt y fegin fawr o Dowlais yn y *Seren Gomer*, yr *Amserau*, &c., fod y gwreichion a chwythai efe i ddechreu wedi cynnyddu yn fflam enynol erbyn hyn, a'i bod yn difa "Mormoniaeth" yn ulw, fel na bydd ond ei lludw yn ngweddill yn fuan. Ac ni welsom ddim tebycach na hyn i'r meddwyn a ddaeth i'w dy, ganol nos, a

chan chwilio am y tân gwelai oleu y lloer yn tywynu trwy dwll y clo, cipiodd y fegin, ac yno y bu yn chwythu heb weled ei gamsynied nes sobri! Felly y mae y rhai hyn yn chwythu eu megin fawr a'u meginau bach yn mhob twll clo, capeli, a thai, y caffont tua Dowlais, ac mor hollol ofer a'r meddwyn; canys, nid Mormoniaeth sydd o flaen eu meginau mwy nac yr oedd tân o flaen megyn y meddwyn. Myna y *ringleader* anwireddus a chreulon o'r erlidigaeth hon i ddarllenwyr y *Seren* goelio bod *Mormoniaeth* wedi cael "*homestroke* am byth yn yr ardaloedd hyn," ïe, haera mai dyma yw "penderfyniad pawb o'r gwrandawwyr yn unfryd." Pa fodd y gwybu efe hyn tybied, os oedd yno gynnifer o filoedd ag a awgryma efe? Ond gwyddom ni, a gwyr cannoedd os nad miloedd y ffordd hyn yn amgenach na hyny; a dywedwn hefyd na chlywsom gymmaint o feio ar ddim erioed ag a feia y gwrandawwyr ar y darlithoedd hyny yn erbyn Mormoniaeth, ac y mae lluoedd wedi diflasu ar y fath sothach croes-haeriadol a glywsant yno, ac yn chwilio i mewn i egwyddorion y grefydd ddwyfol a gamgyhuddid mor erchyll. Amser a brawf fod pob peth, a hyn hefyd, yn cydweithio er daioni i'r efengyl dragwyddol hon. Gwelir enghraifft o haerllugrwydd digywilydd yr erlidiwr anwireddus yn cyhoeddi yn y *Seren* fod "dau o brif flaenoriaid y Mormoniaid wedi eu gadael hwy yn yr wythnos ganlynol, ac ereill gyda hwy," ebe efe. O mor dda fuasai ganddo pe gwir hyn. Ond dywedwn ninnau mewn gwirionedd, mai anwiredd hollol yw hyna, a sicrhau na adawodd yr un o flaenoriaid y Saint hwynt wedi hyny; naddo, ddim un math o swyddog eu gadael, nac arwyddion o hyny ychwaith! Ac am un o'r ddau aelod ag y cyfeiria fu yn cynnal cyfarfodydd, &c., ni fu efe erioed ond mewn un neu ddau o fwyaf o gyfarfodydd eglwysig y Saint; a dybenion drwg ac anonest oedd ganddo yn dyfod y pryd hyny, sef i geisio achlysur i gamgyhuddo ger gwydd y byd. Yr oedd efe wedi cael ei ysgymuno rai misoedd cyn y darlitho a fu yn Caersalem. A gwelir tueddiad enllibaidd y gwr cyfeiriedig yn yr hyn a ganlyna:—Cynnelid cyngor dirgelaidd yn Dowlais gan brif flaenoriaid yr erlidwyr er dyfeisio cynlluniau i erlid y Saint diniwed; yn mhlith ereill yr oedd rhai a ysgymynasid oddiwrth y Saint, oherwydd bucheddau anghristionogol, yn aelodau o'r cynghor. a'r gwr cyfeiriedig yn neillduol, pan y bu yr ymddyddan canlynol.—Fel y dywedai pob un ei ystori erchyll a chelwyddog yn ei dro; er dethol y rhai goreu i'w hadrodd yn eu cyrddau cyhoeddus, dywedodd yr *Iscariot* hwn ei fod ef wedi gweled ci yn nghwrdd y Saint, wedi ei wisgo mewn gwyn, a'i addurno yn hardd iawn, a bod y Saint yn dweyd mai angel oedd, &c. Ond yr oedd hyn rhy erchyll gan un arall oedd ar ei bwys, a'r hwn a fuasai gyda y Saint yn hir, i'w oddef; ac efe a'i cyhuddodd i'w wyneb mai celwydd hollol ddisail oedd hyny. "Taw, taw," ebe yntau, "pa waeth beth, rhaid dweyd celwydd arnynt, onide ni lwyddwn, ac ni fydd genyf ddim i'w ddweyd, onid rhaid Mr. Llywydd?" "O rhaid siwr," ebe y llywydd, "nid yw ods beth yn y byd, am y dirmyga y Seintiau!" Ie, dyma y tystion a goelir gan y rhai sydd o'r un chwaeth, er yn groes i dystiolaeth ugeiniau o bobl eirwirach, pa rai sydd gyda y Saint. Paham coelio camgyhuddwyr yn awr mwy nac y credir y gwrthgilwyr oddiwrth enwadau ereill?

Gwarth goleu oedd gwrthgilio,—ond os Sant,
Nid oes neb a'i beio;
Pawb rydd fryd i'w ergyd ô,
Y gelyn gaiff ei goelio.

Am y gwrthgiliwr arall y cyfeiria ei fod yn "flaenor," ac yn llefaru a thafodau, &c., ar hyd yr heolydd. Gwir i un aelod ieuanc a gwan iawn gael ei hudo gan yr erlidwyr drwg i daflu ei "emau o flaen y moch," ac i adrodd pethau mor santaidd, a llefaru a "thafodau dyeithr" o flaen y cŵn, a'r canlyniad a fu fel y dywedodd Iesu Grist yn gywir, "iddynt droi a'u llarpio hwynt." Pa dystiolaeth gadarnach na hyn sy'n bosibl gael fod y Saint yn mwynhau y doniau ysbrydol ag a fwynheid yn eglwys Crist gynt, a pha rai a addawa y Testament Newydd i'r eglwys, tra y bo yn eglwys i Grist? Wele addefiad ein gelynion proffesedig o hyny, ac enghreifftiau o honynt ar gyhoedd!! Wel, gobeithiwn bod hyna yn ddigon i'w diesgusodi os parhant i'w gwrthod ynte. Heblaw hyny, y mae y dyn cyfeiriedig wedi dyfod i weled ei bechodau, ac i edifarhau yn ddwys oherwydd iddo gymmeryd ei berswadio i wneyd y fath gamddefnydd o bethau santaidd. Ac oddiar dystiolaethau credadwy hysbyswn ei fod ef yn deisyf yn daer am beidio cael ei ysgymuno o'r eglwys. Ac felly, y mae buddugoliaeth boneddig Mr. Davies, ac ereill, yn anwireddus bob gair, ïe, fel nad oes hyd yn nod un aelod, llawer llai "dau flaenor ac ereill," wedi gadael y Saint etto. Ond, y gwir yw, yn lle bod y Saint "*yn felldith ac yn rheg,*" fel y dywed Davies, a bod rhai yn eu gadael yn Dowlais, nid oes gymmaint ag un wedi eu gadael er pan ddechreuodd yr erlidigaeth olaf hon! Ac yn mhellach etto, dealled y byd fod *llwyddiant a chynydd mwy yn mhlith y Saint, hyd y nod yn Dowlais, er hyny na chynt!* Yn lle bod ein cyrddau wedi myned i'r dim wedy'n fel y dywedir, tystia y cannoedd a ddeuant i wrando fod ein Neuadd yno yn llawnach o wrandawwyr boneddigaidd nac y bu erioed, ac mor bell o fod wedi cael yr *home stroke*, ac yn darfod, y mae rhai, mwy neu lai, wedi cael eu bedyddio genym yn Dowlais bob wythnos er y cythrwfl cyfeiriedig; a'r neb a amheua, caiff weled ar lyfrau ein heglwys nad oes gymmaint ag un wythnos wedi passio er hyny hyd yn awr a'r nad oes rhai o'r newydd wedi cael eu derbyn yn aelodau eglwysig gyda y Saint yno; ac amser a brawf fod y cwbl, ïe, y gwaethaf a alla ein gelynion wneyd a dweyd, er lles a lledaeniad ein crefydd, lluosogiad ei deiliaid, ac er cadarnhau y Saint mewn mwy o undeb a chariad. Diolchwn i'r hwn a bia y gwaith dwyfol, ac nid i'n herlidwyr, ac erfyniwn nerth ganddo i barhau ynddo yn amyneddgar a diwyd hyd ddydd dyfodiad ein Harglwydd.

Frodyr anwyl, a chwiorydd,
Dyma grefydd Iesu Grist,
Wedi ei danfon i dylodion,
Pwy a ddichon fod yn drist?
Dyma 'r ysbryd a addawyd,
Dyma wynfyd mawr ei werth,
Mae y doniau dan eu henwau,
Gyda ninnau yn ei nerth.

## DESGRIFIAD O CALIFORNIA.

Dyfynwyd yr hyn a ganlyna o lythyr o'r wlad uchod, a'r hwn a gyhoeddwyd yn y "*New York Herald:*"—

"O barthed i California (ebe un hanesydd), er cymmaint a ganmolwyd arni, ni ddesgrifiwyd yr hanner o'i manteision, ei hinsawdd, a'i ffrwythlondeb—gwlad yw a ddarparodd rhagluniaeth yn Eden i blant rhyddid. Etto, y mae yma anghen llawer o bethau er rheoleiddio y baradwys hon yn drigfan ddedwydd i ddyn; gwir fod yma enw o lywodraeth eisoes, ac enw yn unig. Nid yw yr Hispaeniad penaf yn y wlad yn deall beth yw rhydd bleidlais, ac y mae etholiad i swyddau drwy lais y mwyrif yn anadnabyddus yma. Mae y cadfridog Kearny yn prysur reoleiddio yr annhrefn blaenorol o barthed i'r llywodraeth; ac achosa ei diriondeb tadol hyd yn hyn i'r trigolion edrych ato am nodded a chyfiawnder. Dan ei weinyddiad creir undeb a brawdgarwch rhwng yr ymfudwyr a'r hen drigolion i raddau. Ymgyfeillachant a'u gilydd mewn gwleddoedd, gyda banerau yr America yn chwifio uwch eu penau yn fuddugoliaethus; a phe gelwid byddinoedd yr Unol Daleithiau yn ol yn awr, amddiffynai y trigolion eu hunain werin-lywodraeth annibynol ar Mexico.

"O barthed i ansawdd daear California, pridd du a ffrwythlon yw yn gyffredin am oddeutu pedair troedfedd o'r wyneb, a chynnyrcha yn doreithiog bob rhywogaeth o yd a llysiau a dyfant o'r ddaear yn un man. Nid oes un wlad i'w chystadlu â hon am dyfu *tobacco, hemp, flax*; ac am ffrwyth y winwydden, rhagora ddigon ar bob gwlad a'r a welais i. Gwelais yma amryw winllanoedd gan yr Hispaeniaid, ond y maent yn rhy ddiog i'w trin. Meddyliaf nad aiff nemawr flynyddau heibio a'r na fydd yr holl fyd yn cyrchu eu gwinoedd o California.

"Am ei haddasrwydd i fagu anifeiliaid, anhawdd bod ei gwell; tyfa porfa faethlon, a cheirch gwyllt, yn doreithiog yn mhob rhan o honi; hyd yn nod yn awr gorchuddir y bryniau a'r dolydd â phorfa las ddwy droedfedd o uchder, lle y gwelir ar un olwg filoedd o wartheg yn ei waneus bori, ac yn parhau i wneyd hyny o flwyddyn bwy gilydd, oblegid parha y ddaear hon yn wyrddlas bob tymhor, ac wedi bod felly er dechreu amser. Ymffrostiwch chwi yn y taleithiau o'ch rhywogaethau o wartheg, megys y Durham, y Devonshire, &c., ond dewch yma, a chewch weled dwy neu dair mil o eidionau yn pesgi ar hyd y dolydd hyn, ac yna addefwch fod y wlad hon yn well i fagu anifeiliaid nag un wlad dan haul. Ac er nad oes yma neb yn gofalu dim am danynt fel sydd yna, etto tyfant yma y mwyaf a'r tewaf yn y byd. Mae pob llyn ac afon yn fyw o bob rhywogaeth o bysgod, yn enwedig y *Salmon*. Y mae ar hyd y mynyddoedd a'r coedydd hyn liaws dirif o *Elk, Deer*, a phob rhywogaeth o ymlusgiaid; ac eheda y gwyddau ac amryw fathau o hwyaid yn gymmylau drwy'r awyr. Mae clefydau yn anadnabyddus yma, a pharha einioes hyd nes y byddo yn faich. Mae y mynyddoedd yn gyfoethog o fŵn gwerthfawr; ac y mae mŵn haiarn a chopr i'w weled ar hyd y wyneb ar ochrau y mynyddoedd; mewn gair, tyfa yma ddigonedd o bob peth ond torthau o fara; ac y mae yr Hispaeniaid dioglyd hyn yn rhy ddiog i lafurio am danynt. Pris y blawd yma yn awr yw 20 o ddollars (dros bedair punt) y baril, ac yn brin iawn am

hyny. *Beef, beef.* yw eu harwyddair; ar gig yn unig braidd y maent yn byw; cydweithiant, cyd-drigant, a chyd-orweddant â'u hanifeiliaid, a'r rhyfeddod penaf yw, na byddai carnau, cyrn, a blew, yn tyfu ar bob Indiad ac Hispaeniad sydd yn y wlad hon!

"Anfonwch yma amaethwyr yn lle milwyr; a dywedwch wrthynt fod Eden hardd a helaeth i'w chael, os deuant i'r fan lle mae. Pe deuai trigolion rhai parthau o'r taleithiau yma, diau yr achosai y cyfnewidiad i'r penllwyd ddawnsio, i'r claf iachâu, ac i'r teneu dewhau ar frasder y wlad hon. Am phisygwyr a chyfreithwyr eich gwlad chwi, gwell iddynt aros yna, canys nid oes yma anghen am y naill fwy na'r llall. Ond gall amaethwyr, marsiandwyr, argraffwyr, cryddion, taelwriaid, a phob celfyddydwyr gonest a gweithgar ymgyfoethogi yma yn fuan. Mae yma anghen mawr am bob math o weithwyr, a dylent ddwyn eu harfau gweithiol gyda hwynt, oblegid nid oes yma grefftwyr yn gwneyd pethau felly. Tiriodd yma (yn nyffryn Sacramento) yn ddiweddar 300 o bedrolfeni o dalaeth Missouri, ond rhwyddach a mwy cysurus yw dyfod ar hyd y môr, heblaw y gellir felly ddwyn y pethau a ddewisir gyda chwi.

"Yn y dyffryn hwn, sef Sacramento, y mae y sefydliad lliosocaf o Americaniaid o un parth o California, ac y mae y dyffryn helaeth a bras hwn yn cael ei lanw â phobl yn gyflym. Dystawrwydd a'i gordöodd am ganrifoedd mynedol, oddieithr caniadau mwynaidd yr amrywiol deulu plyfog, pa rai a leisient drwy ei choedwigoedd yn gymmysgedig â brefiadau bwystfilod, ynghyd â swn rhwyfau a chaniadau trigolion cochion y goedwig pan rwyfent eu *canoes* llwythog o *furs* i lawr ei hafonydd grisialaidd. Yn ddiweddar y tiriodd y *pioneer* cyntaf yma, a'i fwyall a'i ddryll ar ei ysgwydd, nes y chwifiodd baneri ein gwlad yn yr awyrgylch; ac eisoes y mae yr anialwch yn blodeuo fel y rhosyn. Clywir lleisiau yr arddwr llon yn chwibanu ar ol ei aradr—caniadau y llaethwraig yn mhlith brefiadau ei deadell, ac arwyddion masnachol y morthwl, y llif, a'r fwyall, yn adleisio yn muriau aneddau o dawel ddyfroedd culfor San Francisco hyd galch-greigiau talpiog y mynyddoedd gwynion; a chyn hir bydd dyffrynoedd gwych ac anwylaidd y wlad hon yn gartrefle dedwydd i filoedd ychwaneg o feibion a merched rhyddid, pa rai, mewn hawddfyd a llawnder a ymgysgodant yn baradwysaidd dan ganghenau *Pren Rhyddid.* Er fod cymmaint o farsiandio yn Monterey yn bresennol ag sydd yn San Francisco, etto oherwydd ymarllwysiad cynnifer o'r afonydd mordwyol i'r culfor hwnw, yr olaf fydd prif borthladd masnachol y wlad hon debygaf. Ond y mae y dyddiau yn dyfod yn ddiau pan y gyrir cledrffyrdd trwy'r mynyddoedd, y dyrchefir yr iseldir, ac y gwelir anghen y cerbydau tanllyd, pa rai a redant gyda chyflymdra yr awel o Vancouver hyd Panama, a phan ddiolcha trigolion yr anialwch i Dduw y rhyddid eu bod hwythau yn rhydd."

Wrth yr hwn a ystyria y desgrifiad uchod yn rhy liwiog, neu yn rhy dda i fod yn wirionedd llythyrenol, dywedwn mai cyfieithad llythyrenol yw o eiriau llygad-dyst. Dyna'r cwbl; a phe gwir ei hanner, pwy na ewyllysiai fwyniant o ran o honi! Da genym glywed fod y fath baradwys o flaen, ac eisoes dan draed rhai o'n brodyr alltudiedig ni, ac er nad un o honynt hwy yw y tyst hwn, gobeithiwn y gallwn

ddweyd, wedi clywed ei hanes ganddynt hwy, fel brenines Seba, am beth arall, sef "na fynegwyd i ni etto yr hanner" o'i daioni.

---

## ANERCHIAD AT Y SAINT.

*Anwyl Frodyr a Chwiorydd*,—Teimlwn awydd a dyled arnom i gyflwyno i chwi, drwy gyfrwng y PROPHWYD, yn enwedig i'r rhai sydd ar wasgar drwy'r wlad, ac o dan anfanteision rhagor ereill, gynghorion a chyfarwyddiadau dyddorol, a gobeithiwn y byddant yn dderbyniol, a gweddiwn ar iddynt fod mor llesiol i chwithau ag y dymunir.

Braint annhraethol yw cael aelodaeth, llawer mwy swydd, yn eglwys Dduw. Braint yw a ddyry hawl i'r holl freintiau daionus a dwyfol ereill a addawodd Duw, a pha rai ni cheir mewn un man arall. Ond y mae yn ofynol ein bod nid yn unig o fewn y cylch eglwysig mewn enw, ond yn ymddwyn yn gyferbyniol o galon i ddyledswyddau y cylch hwnw, ac mewn ysbryd gras a gweddiau y ceir mwynhau yr addewidion. Mae yn wir fod llawer o rwystrau ar y ffordd, a'r temtasiynau yn gryfion a lliosog; ac nid rhyfedd hyn ychwaith pan ystyriom fod genym yr "hen ddyn" i'w groeshoelio, ynghyd â'i wŷniau a'i chwantau, a bod y gelyn yn colli ei feddiant o honom. Oes, y mae ganddo lawer o ffyrdd i geisio ein tynu yn ol, y naill at ryw hen bechodau melys, neu y llall at boblogrwydd neu gyfoeth bydol; ond y ffordd gyfrwysaf a mwynf niweidiol i'r gwir gristion yw dylanwad yr ysbrydion rhagrithiol, y rhai a ymrithiant yn rhith angel y goleuni. Gwyliwch rhag y rhai hyny sy'n dyfod atoch yn ngwisgoedd defaid, gyda rhith o ostyngeiddrwydd, gan ddywedyd chwyddedig eiriau gorwagedd, gan dosturio yn fawr, a braidd lefain, "oherwydd i chwi gael eich hudo i'r fath gyfeiliornad," fel y galwant hwy yr hyn ni wyddant ddim am dano. Nid anfynych y cynnygiant weddio drosoch, a dywedyd chwedlau a thystiolaethau gwely angau, er effeithio ar eich teimladau, a chodi hiraeth arnoch, nid am wirionedd cymmaint ag am yr hen gyfeillach felys, a'r hen dôn Phariseaidd. Gwyliwch rhagddynt, meddwn etto; y mae y ffaith o'r anghysur a'r melancholy a ddyga eu chwedlau i'ch calon, yn profi nad ydynt yn feddiannol ar Ysbryd Duw, canys y mae hwnw yn dwyn llawenydd yn yr Ysbryd Glân, ac yn magu serch a chariad at bob gwirionedd, ac nid at hen draddodiadau dynol. "Na choeliwch bob ysbryd, ond profwch yr ysbrydion ai o Dduw y maent."

Ffordd arall boblogaidd iawn sydd gan y gelyn i'ch rhwystro yn mlaen gyda'r gwaith dwyfol yw, anfon ei weision o'r naill gwr i'r cwr arall i'r wlad fel ser gwibiog, a'u côd yn llawn o amrywiaethau o ystoriau cableddus; ac weithiau sicrha y naill ddarfod i hwn a hwn eu cyflawni yn y naill fan, a'i fod ef yno, a sicrha y llall iddynt gymeryd lle gan un arall, ac mewn man arall hollol, a gwiria yntau y cyfan!! Ac yn aml y clywir hyn o'r pulpudau! Wrth y Saint sydd ar wasgar dywedwn etto, "Na choeliwch bob ysbryd," ac yn enwedig coeliwch mai gaubroffwydi yw y rhai hyny sydd yn bloeddio fod y Saint yn darfod yma, a myned i'r dim draw. Eu hewyllys hwy yw hyny, ond ni ddaw i ben yn dragywydd.

Dichell arall ag sydd gan y gelyn ar ol methu yn mhob dull arall, yw ceisio gwneyd rhwygiad rhwng y praidd a'u bugeiliaid. Gwyr yn dda fod nerth y Saint yn deilliaw o Dduw drwy ei Ysbryd Glân. Gwyr mai "Gwneler pob peth yn weddaidd ac mewn trefn," yw arwyddair hwnw, ac o ganlyniad fod cynnydd y Saint yn dibynu ar wrando llais eu hathrawon, a chadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd, megys y dibyna cynnydd pob aelod yn y corff dynol ar yr ymborth a gaiff trwy y pen; ac os gall y gelyn, drwy draethu chwedlau celwyddog arnynt, trwy anmhrisio neu fradychu ymddiried yr aelodau yn eu bugail, dysgwylia ysglyfaeth fawr. Deallwn fod llu o offerynau gan y gelyn allan yn awr drwy Gymru ar y fusnes hon. Dywedant eu bod yn adnabyddus iawn â "Capt. Jones," ac ereill, eu bod wedi bod yn dadleu fel ar fel ag ef, a'i gonero bid siwr, a'i wneyd yn fud. Dywedant lawer o bethau a ddywedwyd wrthynt, meddant hwy, ac o chwedlau heb un gair o wir ynddynt. Ac er mor anhygoel yr ymddengys hyn, mae yn ddigon gwir ddarfod i ni gydgerdded â rhai a broffesent fyned ar hyd y wlad i bregethu yr efengyl, ac a broffesent adnabyddiaeth berffaith o honom, a chael allan o'u calon y fath gymmysgfa o gelwyddau nad gweddus eu hadrodd! Ac ar yr un pryd, pan wnaethom ein hunain yn adnabyddus, taenent ein henw oddiarnom yn ein hwyneb. Rhai o'r cyfryw dylwyth yw y rhai sydd yn clebran cymmaint am danom ni yn y Llwyni, Pontyberem, Llanelli, hyd Sir Fynwy, ac mewn manau drwy'r Gogledd hefyd. Na choelier hwynt; nid oes air o wirionedd yn eu sothach na'u ffug-ddadleuon. Nid ydym yn deall i ni gyfnewid dau air erioed â'r cyfryw bersonau, ac nid ydym yn meddwl ddarfod i'n hamrantau erioed agor ar un o honynt, na gwybod am eu bodoldeb, hyd nes y daeth eu chwedlau ymffrostgar, a'u henwau yn ol i ni. Cymmeriad pwy sydd ddiogel dan anadl y fath enllibwyr â hyn? A phwy o'u hudoledigion hwy a'r nad ystyriant eu bod yn gwasanaethu Duw wrth ein lladd ninnau, fel y gwnaeth brodyr y rhai hyn â'n brodyr duwiol ninnau yn yr America yn ddiweddar? O ddynion, os na wyddoch ddim am werth enw da, ystyriwch eich cyfrifoldeb yn y dydd a ddaw!

Wrth y Saint dywedwn, Os nad ydym yn hòni perffeithrwydd, etto cyd-dystia Ysbryd y gwirionedd a'ch ysbryd chwi, trwy ei ddoniau a'i amrywiol fendithion melys, pwy sydd yn eich porthi â didwyll laeth y gair. Profa eich cynnydd mewn pob gweithredoedd da, a chysuron ysbrydol, ynghyd â'r gobeithion a feddwch, mai "dynion drwg o drysor drwg y galon a ddygant allan bethau drwg" yn erbyn eu gwell. Er ein galar addefwn fod y goreu yn llithro weithiau, ïe, hyd yn nod y rhai a ddylent fod yn esiamplau i'w praidd, etto meddwn, nid y dynion drwg hyny ag y cyfeiriwyd, na'r cyffelyb, yw yr offerynau yn llaw Duw i adgyweirio y cyfryw rai, ac nid dyna'r ffordd i chwithau ddeall hyny, ond eich rhagorfraint chwi yw cael adnabyddiaeth o Dduw drwy ei Ysbryd yn ol ei drefn, ac yna ymlynwch wrth y drefn hóno, ac nid wrth bersonau ddim pellach nag oherwydd eu bod yn perthynu i'r drefn hòno. Anghenrhaid yw cael profiad o'ch ffydd chwi ar y pen hwn, fel yn mhob peth arall, cyn y perffeithir chwi mewn ffydd. Ond pan yn nghanol y demtasiwn, "yn eich amynedd meddiennwch eich eneidiau." Y mae genych Dad i ofalu drosoch y

pryd hyny. Gwyddoch y ffordd ato, ac y mae brawdlysoedd yn ei dy ef lle y caiff pob un gyfiawnder. O am amynedd hyd hyny ynte: Byddwch bwyllog ac addfwyn, gan weddio bob amser, yn enwedig yn y dirgel, â phob rhyw weddi a deisyfiad, ar i Dduw eich Tad eich cadw o grafangau ysbrydion cyfeiliornus, eich cysuro a'ch perffeithio yn mhob gweithredoedd da, gan gofio y gair sydd yn dywedyd, "Na ddialwch rai anwyl (ond dyoddefwch gam yn hytrach); myfi bia dial, myfi a dalaf, medd yr Arglwydd."

---

## NEWYDDION ODDIWRTH Y SAINT SYDD YN YR ANIALWCH.

Hysbysa Capt. Drake a Mr. Campbell drwy y *St. Louis Republican* am Awst 24, ddarfod iddynt hwy pan ar eu taith o California tua St. Louis, gyfarfod â lluoedd o fudolion yn myned tua'r gorllewin. Cyfarfuasant â'r gwersyll blaenaf o'r Saint y tuhwnt i'r mynyddoedd creiglyd yn cyflymu yn mlaen tua'r *Great Salt Lake* i chwilio am y fan goreu i auafu. Wedi hyny cyfarfuasant â'r ail wersyll, yn cynnwys o bump i chwe chant o bedrolfeni. Yr oeddynt yn myned yn mlaen yn llwyddiannus iawn, ac yn heddychol â'u gilydd. Ychydig ddyddiau cyn i'n haneswyr gyfarfod â hwynt yr oedd y Saint wedi bod yn cydhela ac yn cydwledda yn gariadus iawn gyda chenedl y *Pawnee Indians.* Daeth y teithwyr heibio i'r fan lle y cynnaliwyd y wledd gyfeiriedig; ond ystyrient hwy eu hunain yn bur ffortunus oherwydd na chyfarfuasant â'r Indiaid serch hyny. Profa hyn lawer o blaid y Saint, nid yn unig bod "cenfigen Ephraim yn ymadael" yn gyflym, yn ol y prophwydoliaethau, ond profa ymddygiad y barbariaid hyn eu bod yn hoffi cyfiawnder, ac yn talu daioni yn ol i'r Saint am eu cyfiawnder tuag atynt hwy. Yn mhellach, dywed ein haneswyr, "fod y Mormoniaid yn meddu digonedd o foch, ieir, gwyddau, a gwartheg tewion, gyda hwy, ynghyd â llawnder o luniaeth i barhau am flwyddyn a hanner!" Mor groes yw hyn i'r ystoriau a gyhoeddid ac a ehedent ar adenydd yr awelon yn ddiweddar, ac a ystyrid yn felys yn ngeneu rhai a adwaenom, sef "fod y Mormoniaid yn bwyta eu gilydd yn yr anialwch, ac y ceffid diwedd arnynt cyn hir, &c." Ond diolchwn i'n Duw grasol, sef cynnaliwr ac arweinydd y Saint, ac nid i'r Cristionogion (mewn enw) a'u halltudiasant, nac ychwaith i'w brodyr unchwaeth â hwynt ag sydd yn gorfoleddu yn eu creulonderau, ac yn eu hefelychu hyd yn nod yn Nghymru, hyd a allant. Mae hyn fel yr holl gyhuddiadau ereill braidd yn erbyn y Saint, a cheir mwy o wirionedd ynddynt os cymerir hwynt yn hollol go chwith i'r hyn eu traethir.

Gan Seintiau y Dyddiau Diweddaf
  Mae'r grefydd ddwyfolaf yn awr,
A'r hon sydd i gael ei chyhoeddi
  Nes llenwi holl wyneb y llawr.
Ond pan fyddant hwy yn ymadael,
  Fe welir fath ryfel a haint!
Pe gwyddai'r cenedloedd eu hawddfyd,
  Ni sonient am symud y Saint!

## CYMMANFA MYNWY.

CYNNALIWYD y Gymmanfa hon dydd Sul, Hydref 3ydd, yn Neuadd yr Hector, Nant-yglo. Yr oedd y neuadd yn orlawn o wrandawwyr erbyn deg o'r gloch. Detholwyd Capt. D. Jones yn llywydd, yr hwn, wedi dechreu drwy ganu a gweddio, a anerchodd y dyrfa yn wresog am yr anghenrheidrwydd o gael crefydd a ddygai iddynt adnabyddiaeth o Dduw, a mwynhad o'i addewidion; a danghosodd y gwahaniaeth sydd rhwng hono â phenboethni athrawiaethau dynol, neu grefydd y mympwy a'r teimlad yn unig. Llawenhâai yn fawr wrth weled y fath gynnulleidfa liosog a pharchus o'i gydgenedl, gan mwyaf os nad oll, yn feddiannol ar y fath grefydd odidog, yr hon sydd yn hunan-brofiedydd, ac yn allu Duw i'w meddiannydd. Dywedai mai nid dyben y Gymmanfa hon oedd cyfnewid na gwella y grefydd, ond ymdrechu dyfod i adnabyddiaeth gywirach o honi, a threfnu y mesurau goreu er ei lledaenu yn mhlith ein cyd-ddynion, ac hefyd i berffeithio undeb a chariad yn mhlith y Saint. Ar ol hyny cynddrychiolodd y gwahanol lywyddion wyth o ganghenau y gynadledd, a dysgrifient eu sefyllfaoedd braidd yn ddieithriad mewn undeb, ac yn cynnyddu yn y mwynhad o ddoniau a llawenydd yr Ysbryd Glân. Dangosent fod gwell argoelion o gynnydd, a gobeithion o liosogiad, a bod y Saint yn fwy gwresog ac ymegniol drwy y cyfan nag y buont erioed o'r blaen. Rhif presennol yr henuriaid yw 12, offeiriaid 25, dysgawdwyr 18, diaconiaid 8. Bedyddiwyd er y Gymmanfa flaenorol 24. Nifer yr holl aelodau yw 209. Mae nifer fawr wedi ymsymud i barthau ereill o Gymru, ac yn hau yr had da gyda chynnydd.

Am ddau o'r gloch, dechreuwyd y cwrdd i'r Saint yn unig, er hyny yr oedd amryw o'n cyfeillion o'r byd yno trwy ganiatad. Wedi cyfranogi o'r ordinhad o swper yr Arglwydd, dangosodd y llywydd ei godidogrwydd a'i defnyddioldeb, &c., yn Saesonaeg, a rhoddodd amryw gynghorion melys a llesiol yn Gymraeg hefyd, nes y meddylid fod pob mynwes yn lloni, a phob calon yn ymserchu fwy-fwy yn y grefydd ogoneddus, yr hon a ddug iddynt y fath fwyniant a gobeithion. Wedi hyny derbyniwyd un i'r eglwys, a bendithiwyd pedwar o blant. Dewiswyd yr henuriad W. Phillips o Ferthyr i fod yn llywydd y gynnadledd hon yn unfrydol, oherwydd fod y llywydd blaenorol, yr henuriad J. Morris, yn llafurio yn llwyddiannus yn Sir Benfro, â'r hyn y cydunwyd yn unfrydol. Cydunwyd hefyd fod pob canghen i ddewis eu dosparthwr o'r PROPHWYD, ac i dalu iddo ef yn fisol am gynnifer ag a fyddai o aelodau—bod yr holl ddosbarthwyr i dalu i lywydd y gynnadledd, a bod yr ennill oddiwrthynt iddo ef at ei gynaliaeth: a thaer erfynir ar holl ewyllyswyr da y gwaith dwyfol hwn i wneyd yr hyn oll a allant er lledaenu y PROPHWYD, a thalu am dano.

Cydunwyd hefyd i wneyd yr hyn oll a allwn er cynnorthwyo a diwallu anghenrheidiau y Saint Americanaidd sydd yn yr anialwch, ac i anfon yr arian a gesglir o hyn i ddiwedd y flwyddyn hon gyda'r cenadau fydd yn dychwelyd i'r America y pryd hyny. Terfynodd y cyfarfod melys a llesiol hwn am bump o'r gloch drwy weddi a chanu.

Am hanner awr wedi chwech, dechreuodd yr oedfa hwyrol. Pregethodd yr henuriad Eliezer Edwards, D. Jones, Penycae, a Thomas Giles, Merthyr, yn fywiog ac eglur ar wahanol egwyddorion, a dilynwyd hwynt gan y llywydd, yr hwn a ddangosodd mai y ddaear yw nefoedd ddedwyddaf a thynghedfen dragwyddol yr holl rai duwiol o'r hil-ddynol—mai yma y bydd yr "orphwyfa sydd etto yn ol i bobl Dduw." Profodd mai dyma oedd dysgwyliad y patriarchiaid a'r prophwydi, ynghyd â'r holl Saint, ac mai y chorus o anthemau mwyneiddiaf yr angylion oedd, "ac ni a deyrnaswn ar y DDAEAR," Dat. 5, 10. Dangosodd hefyd yr anghenrheidrwydd oedd am anfoniad dwyfol i sefydlu teyrnas nefoedd ar y ddaear, ac i ddwyn dynion yn ddeiliaid o honi yn ddarpariadol i'r adferiad mawr, a dyfodiad y brenin i'w deyrnas.. Profodd y dechreuai y gwaith hwn, neu y sefydlid y deyrnas hon yn fechan fel y "gareg a dorwyd o'r mynydd," ac y cynnydda yn raddol nes llanw y ddaear a gwybodaeth o Dduw fel y toa y dyfroedd y môr; ac y byddai y ddaear oll y pryd hyny wedi dyfod yn nefoedd i'r Saint adgyfodedig a chyfnewidiedig. Wedi hyny tystiolaethodd y llywydd fod y nefoedd hon eisoes wedi dechreu ar y ddaear—yn mha le, ac yn mha fodd, a thaer wahoddodd bawb i ufyddhau i'w chyfreithiau ar frys, fel y caffont fwyniant o honi. Ni ellir yma wneyd cyfiawnder â'r areithiau a draddodwyd yn y cyfarfod hwn, ond hawdd oedd deall oddiwrth wrandawiad boneddigaidd ac astud, ynghyd â gwynebau llon y dyrfa oll, bod eu calonau yn llawenhau yn y gobaith o fwyniant o'r addewidion gogoneddus hyn. Dywedaf, llwyddiant iddi nes llanw ein gwlad, a choroni ein cydgenedl, a'r byd, a'i llawenydd. Amen.

DAVID JONES, Ysgrifenydd.

Mae y deyrnas wedi dod, yn ei hadeg,
Heb un diwedd arni i fod, byth ychwaneg;
Hon a dorwyd megys maen, draw o'r mynydd,
Ac a dreigla yn ei blaen, dros y gwledydd.

## *HYSBYSIADAU.*

### AT EIN DOSBARTHWYR.

Gan nad oes ond un rhifyn arall o'r *Prophwyd* i ddyfod allan eleni, taer ddymunir ar bob dosparthwr ymbarotoi i settlo eu cyfrifon am y flwyddyn am y llyfrau ereill yn gystal â'r *Prophwyd* erbyn y Gymmanfa.

D. S. Byddai yn dda genym brynu ein llyfrau ein hunain, sef y rhai canlynol, yn ol, a thalu eu cyflawn bris am danynt, os byddant yn lân, sef yr *Hen Grefydd Newydd*, yr *Atebydd*, y *Glorian*, yr *Anerchiad*, y *Prophwyd* rhif. 1, 7, 8. Pwy bynag sydd yn eu meddu, anfoned hwynt yma, a chaiff yr arian, neu lyfrau ereill, yn eu lle. Nid pob awdwr a wna hyn, ac nid yw y gofyniad rhyfeddol o gymmyddol hwn am ein llyfrau yn profi adfeiliad ein crefydd ddim!

*** Mae genym lyfrau Hymnau Cymreig wedi eu rhwymo am chwecheiniog yr un.

### CYMMANFA NESAF MORGANWG.

Bwriedir cynnal y Gymmanfa uchod yn Neuadd y Cymreigyddion yn Merthyr, dydd Sul a Llun, Rhagfyr y 26ain a'r 27ain, sef y cyntaf ar ol dydd Nadolig.

*** Dysgwylir dyeithriaid o'r America i'r Gymmanfa, a thaer erfynir ar yr holl Saint i ymdrechu cyflawni yr adduned a wnaethom er cynnorthwyo y Saint sydd yn yr anialwch, erbyn yr amser hwnw.

Dysgwyliwn y bydd i'r gwahanol lywyddion drwy Gymru ofalu am hyn.

---

### CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

ARGRAFFWYD GAN JOHN JONES, RHYDYBONT.

// PROPHWYD Y JUBILI,
NEU
SEREN Y SAINT.

RHIF. 18.] RHAGFYR. [PRIS 2g.

## "LLEFARU A THAFODAU" Y TESTAMENT NEWYDD, A MORMONIAETH!

MR. GOL.,—Cafodd gofyniadau eu cyfeirio ataf fi yn *Seren* Medi, gan un Parchedig Annibynol o'r Gogledd, ac ysgrifenais atebiad iddynt, gan fod yn sicr yn fy meddwl y cawswn yr un chwarae têg ag a gafodd y gofynwr; ond er fy siomedigaeth, dywedwyd wrthyf ei fod yn rhy wael, nad oedd dim o'r "*cleverness*" a ddangoswn ar brydiau ereill yn yr ysgrif hon, ac na fuasai y Parchedig crybwylledig yn gwneyd un sylw o honi. Yr unig beth a ddywedaf fi yw, i mi wneyd fy ngoreu. Yn awr, yr wyf yn gosod fy achos o'ch blaen chwi, ac yn erfyn y chwarae têg a nacäwyd yn y fan lle y dylasid ei gael.

Yr eiddoch yn ostyngedig,

J. D.

[*Copi o'r Ysgrif a ddanfonwyd at Olygydd* SEREN GOMER, *dan yr enw uchod.*]

MR. GOMER,—Pan ddanfonais atoch ysgrif tua mis Chwefror diweddaf, ar "Lefaru â Thafodau," yr hon a ymddangosodd yn y SEREN am Fehefin, ychydig oeddwn yn feddwl y buasai neb mor graffus ei olygon ag i weled mai amddiffyn Mormoniaeth oedd hyny; canys nid oedd ond yn unig ymchwiliad i mewn i'r Testament Newydd er gwybod pa beth sydd i'w ddeall wrth "lefaru â thafodau." Ond cyn pen deufis, dyma H. Tegai (gwel tud. 258) yn ysgrifenu fel y canlyna:—

"Gwelais yn SEREN Mehefin, ysgrif o eiddo un J. D., ar '*Lefaru a Thafodau.*' Os yw J. D. am ddyfod yn mlaen i amddiffyn Mormoniaeth, deued at wreiddyn y ddadl ar unwaith, trwy ateb, 1. A wnaeth Crist a'i apostolion wyrthiau cyhoeddus? Os gwneuthant, 2. A ydyw y Mormoniaid yn gwneyd yr un modd? Atebed J. D. fel y myno, ac yna bydd genyf air i ddywedyd wrtho."

Yn awr, dymunwn ar y darllenydd i gymmeryd y drafferth o ailddarllen yr ysgrif ar "Lefaru â Thafodau," rhag ei bod wedi myned yn anghof ganddo. Yr ydys yn ceisio profi yno nad yr hyn a feddylia H. Tegai a'r cyfaill o Borthyrhyd, yw y "llefaru" dan sylw; ond mai rhodd ydoedd o eiddo Duw i'r eglwys, er ei hadeiladu, a'i bod yn

cael ei chyfranu megys ag yr oedd yr Ysbryd yn ewyllysio. Nid yw H. Tegai yn arddangos fy mod wedi cyfeiliorni yn hyny; eithr dyweda, "Os yw J. D. am ddyfod yn mlaen i amddiffyn *Mormoniaeth* (!), deued at wreiddyn y ddadl ar unwaith." Beth yw hyna? Ai Mormoniaeth oedd y "llefaru â thafodau" yn y dyddiau gynt? Hyny oedd y pwnc a driniais i, cofier. Os mai Mormoniaeth oedd y "llefaru â thafodau" gynt, ac os gellir dangos fod y "llefaru" i barhau hyd yn awr, nid rhyfedd fod yn bodoli y fath sect â'r Mormoniaid. Yn awr, nid tro ffol fuasai ymdrechu gosod Paul i brofi fod y "llefaru" i barhau hyd y dyddiau hyn, ac efallai yn mhellach. Dywed efe— "Cariad *byth* ni chwymp ymaith: eithr pa un bynag ai prophwydoliaethau, hwy a ballant; ai tafodau, hwy a beidiant; ai gwybodaeth, hi a ddiflana. Canys *o ran* y gwyddom, ac *o ran* yr ydym yn prophwydo. Eithr pan ddelo yr hyn sydd *berffaith*, yna yr hyn sydd *o ran* a ddileir." (1 Cor. 13, 8—10). Ai pethau o ran yw y llefaru a'r prophwydo? Ie, medd pawb. Wel, a ydyw yr hyn sydd o ran i gael ei ddileu cyn y delo yr hyn sydd berffaith? Nag yw. Pa bryd y mae yr hyn sydd *berffaith* i ddyfod, ynte? Ie, dyna y cwestiwn. Ac nid pan fyddwn *ni* yn "gweled wyneb yn wyneb;" canys nid yw yn debyg y perffeithir hwy (sef y Cristionogion gynt), hebom ninnau. Fe welir, erbyn hyn, ynte, fod y llefaru a'r prophwydo i barhau hyd nes caffo y rhai olaf ar y ddaear eu perffeithio, ond dim yn hwy, canys wed'yn fe fydd yr hyn sydd "o ran" wedi ei lyncu gan "yr hyn sydd berffaith." Yn awr, Mr. Tegai, ai Mormoniaeth yw hyna, etto? Os mai, bydd dda gan y Mormoniaid glywed.

Yn nesaf, gan fy mod wedi dyfod yn mlaen i amddiffyn "llefaru â thafodau" y Testament Newydd, yr hyn a eilw H. Tegai yn Formoniaeth, y mae efe yn fy ngalw "at *wreiddyn* y ddadl ar unwaith." Pa fodd mae dyfod at wreiddyn y ddadl? O, "trwy ateb, 1. A wnaeth Crist a'i apostolion wyrthiau cyhoeddus? Os gwnaethant, 2. A ydyw y Mormoniaid yn gwneyd yr un modd?" Ai tybied nad allem ddyfod at y gwreiddyn yn gystal, trwy ateb, I. A oedd yr apostolion yn llefaru â thafodau? Os oeddynt, 2. A yw y Mormoniaid yn gwneyd yr un modd? Beth pe buasem, wrth chwilio i mewn i'r ddau bwnc yna, yn cael ein hargyhoeddi fod llefaru â thafodau y Mormoniaid yn wirioneddol, a gwyrthiau y cyfryw yn dwyllodrus? Y mae y Mormoniaid yn proffesu y naill a'r llall; o ganlyniad, y mae dweyd mai yn un o honynt mae "gwreiddyn y ddadl" sy'n perthyn, i'r ddau (ac i ychwaneg a ellid nodi), yn eithaf anghyssondeb. Beth gan hyny? y mae Paul, gwr cymmeradwy gan bawb, yn gosod i lawr reol lawer ragorach i "ddyfod at *wreiddyn y ddadl*"—h.y., er barnu pa un ai gau-grefydd a thwyll sydd gan y Saint, ai peidio. Dywed—"Pe byddai i ni, neu i angel o'r nef, efengylu i chwi amgen nâ'r hyn a efengylasom i chwi, bydded anathema," (Gal. 1, 8.) Trwy gael allan nad yw y Mormoniaid yn efengylu neu yn proffesu yr hyn a wnai Paul a'i frodyr, yw y drefn oreu er eu profi yn dwyllwyr. Os ydynt yn gwadu rhywbeth, neu broffesu rhywbeth yn wahanol, ynghylch yr hyn ag oedd gan Paul, y maent yn sicr o fod yn efengylu rhywbeth arall, ac yn deilwng i dderbyn yr anathema. Ond nid af fi yn bresennol i edrych a ydyw y Saint yn dilyn Paul, canys nid yw H.

Tegai yn ystyried mai hyny yw "gwreiddyn y ddadl;" ac o ganlyniad, câf yn awr ateb ei ddau gwestiwn ef goreu y medraf.

"1. *A wnaeth Crist a'i apostolion wyrthiau cyhoeddus?*" Gellir gofyn hefyd, ac y mae lluoedd yn gwneyd hyny, a wnaethant hwy wyrthiau ryw fodd? Y mae genym ni hanes, sef y Testament Newydd, yn cynnwys crybwylliadau am ryw bethau rhyfedd yn cael eu cyflawni lawer o oesoedd yn ol; ond mae y cyfan wedi ei ysgrifenu gan ddynion pleidiol, a rhaid credu y cyfan, neu beidio, heb gael un prawf o'u geirwiredd. Os nad yw, fod y "Mormoniaid," y rhai sy'n byw yn ein hoes ni yn dweyd fod gwyrthiau yn eu plith hwy, yn un prawf eu bod; ac wrth reswm, nid yw fod dyscyblion yr Iesu, yn yr oesoedd cyntefig, yn dweyd fod gwyrthiau yn eu plith hwythau, yn un prawf i ni yn yr oes hon eu bod. Yn wir, oddieithr fod dynion yn derbyn gwybodaeth oruwch-naturiol, y mae yn ymddangos i mi yn beth digon naturiol i ammau a wnaeth Crist a'i apostolion wyrthiau; a hyny o herwydd i Grist ddywedyd y byddai arwyddion yn canlyn y *credinwyr*, yr hyn sydd gystal â dweyd y byddent yn ein hoes ni. Y mae wedi dweyd hefyd, mai pa beth bynag a geisiem yn ei enw ef, y buasem yn cael. Wel, yr ydys wedi bod lawer gwaith, yn mhlith yr Annibynwyr, o leiaf, canys â'r rhai hyny y bum fwyaf adnabyddus, yn ceisio yn ei enw ef am iachâu rhyw glaf; ond wedi gofyn, nid oedd ateb yn dyfod. Buwyd lawer gwaith hefyd, yn efelychu Elias gynt, yn gofyn yn enw Crist, am i Dduw attal gwlaw yn amser cynauaf, a phrydiau ereill am iddo roddi gwlaw; ond ni wneid un clust o honynt gan yr Hwn a addawodd rhoddi ond ceisio. Ond, meddai rhyw Annibynwr, *Yr ydym wedi cael ein hateb lawer gwaith.* Wel, wel! B'le mae H. Tegai yn awr? Dyna "wyrthiau cyhoeddus" yn ein hoes a'n gwlad ni o'r diwedd, ïe, gan yr Annibynwyr, nid y Mormoniaid! Yr hen "gau-brophwydi," ynte. Ust! yr ydwyf yn myned allan o'r pwnc; eisieu gwybod sydd ar y gofynydd os gwnaeth Crist a'i apostolion wyrthiau *cyhoeddus?* Gellir cael cipolwg ar gyhoeddusrwydd gwyrthiau Crist ynte oddiwrth yr hyn a ddywedai ei frodyr wrtho. "Cerdda ymaith oddiyma," meddynt, "a dos i Judea; fel y gwelo dy ddyscyblion dy weithredoedd di y rhai yr ydwyt yn eu gwneuthur: canys nid oes neb yn gwneuthur dim yn *ddirgel*, ac yntau yn ceisio bod yn gyhoedd; os wyt yn gwneuthur y pethau hyn, amlyga dy hun i'r byd." Gallwn gasglu hefyd nad oedd gwyrthiau Crist yn gyhoeddus iawn, onide ni fuasai dynion dysgedig fel yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid yn anwybodus o honynt; canys, ond odid, pe buasai dynion cyfrifol fel hyny yn cael y prawf lleiaf o'i wyrthiau, y buasent yn credu. Sylwn ar yr hyn a ddywedasant wrtho tra ar y groes—"Disgyned Crist, Brenin yr Iuddewon, oddiar y groes, fel y *gwelom*, ac y credom." Os oedd efe yn arferol o wneyd gwyrthiau cyhoeddus, paham na fuasai efe yn gwneyd felly y pryd hwnw, pan oedd dynion o'r fath ddylanwad, yn bresennol,—ïe, dynion pe credent fuasai yn troi y byd ar eu hol. Y mae dynion hefyd mor onest yn ein dyddiau ni, ag y buasai iddynt gredu y Mormoniaid yn union, pe gallent borthi pum mil yn wyrthiol, &c. Nid yw yn debyg y gall y Mormoniaid wneyd y fath beth, neu ni fuasent mor ddwl â pheidio argyhoeddi dynion fel hyny; ac nid oedd yn debyg fod yr apostolion yn gallu cyflawni

gwyrthiau cyhoeddus, neu ni fuasent mor annoeth â pheidio dangos eu gallu i'r dynion gynt. Ond er hyny, fe ddywedir yn y Testament Newydd, fod gwyrthiau wedi cael eu gwneyd gan Grist yn gyhoeddus (ac yn ddirgelaidd); eithr rhoddir ar ddeall mai yn mhlith "yr eiddo ei hun" y gwnaeth efe hwynt, a dim ond yn mhlith y rhai crediniol o'r cyfryw hefyd. Yn gyffelyb y dywedir hefyd am ychydig o'r apostolion. Y mae yn dra amlwg fod llawer o'r gwyrthiau a sonir am danynt, wedi cael eu cyflawni yn gyhoeddus, heb un bwriad iddynt fod felly; ac yn ddigon mynych yr oedd eu gweithredwyr yn ceisio eu celu. Yn awr, wedi yr holl ymresymu uchod, nis gallaf ddyfod i benderfyniad sicr pa un a wnaeth Crist a'i apostolion wyrthiau cyhoeddus, ond yn unig dywedaf fod y Testament Newydd yn son iddynt gyflawni y cyfryw bethau. Wedi rhoddi ateb fel hyna, y mae gofyniad arall yn dyfod ar fy nhraws, sef, yn—

"2. *A ydyw y Mormoniaid yn gwneyd yr un modd ?*" Yn hwn, tebygaf, mae "gwreiddyn y ddadl." Er fy mod, wrth ateb y gofyniad cyntaf, wedi myned yn lled anffyddiog ynghylch y gwyrthiau gynt; os bydd i mi gael allan fod pethau cyffelyb yn mhlith y Mormoniaid yn awr, y mae yn rhesymol i mi gredu yn ngeirwiredd y Beibl am weithredoedd Crist a'i apostolion. Nid wyf yn ystyried fod yn rhaid i wyrthiau y Mormoniaid fod mor fawr, ac mor gyhoeddus, ychwaith, â gwyrthiau Crist a'i apostolion, cyn y gallont fod yn wyrthiau, ac yn wyrthiau gwirioneddol; canys nid oes neb yn mhlith y Mormoniaid yn proffesu cymmaint o ffydd â Christ, ac nid oes neb o honynt yn Nghymru yn dal swyddi mor uchel â'r apostolion. Os gellir profi fod rhyw glaf wedi derbyn iechyd yn wyrthiol, trwy arddodiad dwylaw, fe fydd yr egwyddor o allu gwyrthiol wedi ei phrofi; ac o ganlyniad, yn ol fel y gall y Mormoniaid weithredu wrth y reol, "Beth bynag a ofynoch mewn gweddi, gan *gredu*, chwi a'i derbyniwch," yn ol hyny y galluogir hwynt, nid i wneyd gweithredoedd gymmaint â Chrisr a'i apostolion, ond llawer mwy, sef hyd y nod i allu symud mynyddoedd! Yn awr, yn mhlith llawer o amgylchiadau felly, cawn nodi un a ddygwyddodd yn Merthyr-Tydfil, i ddyn o'r enw William Hughes, yr hwn oedd yn gweithio mewn gwaith glô. Un diwrnod, dygwyddodd iddo dòri ei goes mewn dau fàn: a chafodd ei gario gartref gan ei gyd-weithwyr. pryd y gosododd meddyg yr esgyrn yn eu lle, a'u rhwymo i fyny. Y noson hóno galwodd y dyn am un o henuriaid yr eglwys ato, a gweinyddodd hwnw yn ei swydd, pryd y cafodd y claf hollol esmwythâd o'r poen. Y trydydd diwrnod ar ol hyny, galwodd am henuriad arall, a gweinyddodd hwnw drachefn; a'r canlyniad fu, i'r claf neidio i lawr o'i wely yn ngwydd amryw o dystion *anmhleidiol*, gan rodio yn eu gwydd! Geill Mr. Tegai gael yr hanes yn gyflawn yn nghyhoeddiad y Mormoniaid, a elwir *Prophwyd y Jubili*, am Gorphenaf, 1846, ynghyd â'r tystion. Y maent yn awr yn fyw; ac y mae'r dyn a iechasid yn Llanelli, sir Gaer, yr hwn sydd yn foddlawn dyfod i wyneb pawb er profi gwirionedd y peth. Yr oedd hyn i gyd yn gyhoeddus, ond nid yw pawb yn credu, yn enwedig y dysgedigion; felly, yr oedd hefyd yn y dyddiau gynt. Y mae gwelliadau amrywiol yn dygwydd yn mhlith cannoedd o edrychwyr, ond ni all y Mormoniaid help eu bod yn cael eu gwneyd i fyny o "eiddo" Crist, mwy nag y gallai yr apostolion. Y dystiolaeth fwyaf a allwn i ei rhoddi i H. Tegai fyddai sicrhau iddo i mi fy hun dderbyn iechyd yn wyrthiol

fwy nag unwaith; a hyny yr wyf yn tystio sydd wedi dygwydd. Ond, yn awr, dychymmygaf fod Mr. Tegai yn barod i ddweyd, pe buasai efe ei hun yn gweled pethau felly yn cymmeryd lle, na fyddai nemawr o amser cyn uno â'r Mormoniaid. Buasai hyna, er hyny, yn anhawdd i gredu am dano; canys os yw efe yn un o'r "etholedigion," ni fyddai yn *bosibl*, hyd y nod pe buasai iddo gael arwydd eglur gan y rhai a ystyria efe yn "gau-brophwydi,"—ni fyddai yn *bosibl*, meddaf, ei ddwyn ef i gredu mewn athrawiaeth wahanol i'r hon a greda yn awr, sef Anymddibyniaeth, feddyliwyf. Ond rhag ofn nad yw efe yn un o'r "etholedigion" na chymmerant eu twyllo, y rhai sydd â thystiolaeth Iesu ganddynt, yr wyf o'r farn mai tystiolaeth iddo ei hun fuasai y fwyaf boddhaol ganddo ef, a'r fwyaf argyhoeddiadol hefyd. Pa fodd mae cael hono, tybied? Fel hyn:—"Os ewyllysia neb wneuthur ei ewyllys Ef, efe a gaiff *wybod* am y ddysgeidiaeth, pa un ai o Dduw y mae hi," (Ioan 7, 17). Cael *gwybod* yw y prif bwynt. Gallai ein cyfaill fod yn dyst o wyrth, ac heb *wybod*, er hyny, pa un ai gwyrth gan Dduw, neu gan y "gau-brophwydi," fyddai hi. Yn awr, mae y Saint, fel Crist, yn cynnyg y wybodaeth yna i bob un a wnelo yr hyn y maent yn ddysgu; ac y mae cyfle gan H. Tegai i'w cymmeryd ar eu gair, a'u profi. Dyna yr oll a ddywedaf yn bresennol ynghylch yr ail gwestiwn. Yn nesaf, ac yn olaf, dyweda ein cyfaill fel hyn:—

"*Atebed J. D. fel y myno, ac yna bydd genyf air i ddywedyd wrtho.*" Mae'r peth yma yn edrych fel *trap* neu rwyd; ac os cymmerir y geiriau yn "ysbrydol," y maent yn golygu, yn ol fy marn i, fod Mr. Tegai wedi penderfynu yn mlaenllaw pa beth a ddyweda; ïe, hyd y nod pe byddai i mi ei argyhoeddi yn hollol i'r gwrthwyneb. Ond nid oes gwahaniaeth am hyny: eithr gobeithio yr wyf fi, pan fyddo ein cyfaill yn codi ei rwyd, y bydd i wyrth gymmeryd lle (fel yn amser Crist), ac yn lle fy nâl i, y bydd wedi dàl y gwirionedd, a hwnw fel y mae yn yr Iesu. Amen. J. D.

---

## YR "AMSERAU" A'I LYSNAFEDD GELWYDDOG AR Y SAINT ETTO! ETTO!!

Y MAE Golygydd "Parchedig" y papuryn hwn yn efelychu melinydd y *corn crackers* Americanaidd yn fawr, canys ni ddyry yr olaf ddim yn ei hopren ond "*corn*," yr hwn nid yw ond megys bwyd moch mewn cymhariaeth i'r gwenith. Felly y llall ni ollynga ddim i hopren yr *Amserau* o barthed i'r Saint ond *celwyddau mochaidd*; a chafwyd digon o ffeithiau cyn hyn i brofi nad oes un rhyw o'r rhai hyny yn rhy galed, enllibus, na niweidiol ganddo eu cyhoeddi; ac yn y fan pan gynnygir iddo y gwir mewn amddiffyniad, i lawr a cheuad ei hopren bob tro; a chynted ag y daw rhyw gamgyhuddiad digon erchyll, i mewn ag ef wed'yn! Pwy a glywodd son fod Golygydd yr *Amserau* wedi caniatau i un o'r Saint erioed amddiffyn eu hunain rhag ei gelwyddau ef? Pwy a glywodd son ddarfod iddo gael gafael ar un ystori i'w herbyn erioed yn rhy warthus ganddo ei chyhoeddi? Beth yw hyn ond gwahodd holl gelwyddwyr enllibus ein gwlad i ddwyn eu ffetanau llawnion yn mlaen a'u harllwys i'w hopren ef! Darllener yr hyn a ganlyna. Allan o'r *Amserau*, Tach. 4:—

"NEW MARKET.—Y mae y Mormoniaid yn talu ymweliad mynych â'r lle hwn. Ymddengys fod gan ddyscyblion Joe Smith hoffder mawr i'r fan, a mwy o awydd i gael trigolion Newmarket o gyrhaedd dinystr y byd i California ddyogel, nag sydd i gael trigolion unrhyw gymydogaeth arall yn y parthau hyn. Bu dynes yn bragaldio rhyw lol yma ar nos Lun. Ni buasai cymhwysiad dwfr a sebon at ei chnawd a'i dillad ddim allan o le, gan fod mawr anghen hyny arni. Y nos Fawrth ganlynol ymosododd gwr y ddynes hon ar ferch ieuanc, mewn lle unig o gylch milldir a hanner allan o'r pentref. Yn ffawdus iawn i'r ferch, dygwyddodd i rywun ddyfod heibio ar y cyfamser, ac felly y cafodd ymwared. Dilynwyd ar ei ol, a daliwyd ef mewn tafarn. Dywedir fod yn ei ganlyn amryw eirf miniog a *phlasteri.* Ceisiodd osod plaster ar enau y ferch i attal iddi waeddi, ond yn yr ymdrech methodd y nôd, a gosododd ef ar ei boch. Y mae efe yn awr yn ngharchar Fflint yn "dyoddef erledigaeth." Ceir gweled a wna teulu y gwyrthiau lwyddo i gael angel i agor drysau y carchar, ac i arwain y 'sant' hwn allan."

Yn awr, o barthed i'r holl "fragald" hwn, dywedwn nad oes un sill o wirionedd ynddo mewn cyssylltiad a'r "Mormoniaid" (fel eu gelwir); a heriwn y Golygydd a'i *garn* i brofi fod un math o gyssylltiad na dim yn debyg rhwng y fenyw gyfeiriedig na'i gwr â "Saint y Dyddiau Diweddaf," nac erioed wedi bod. A allwch chwi wadu hyn Mr. Golygydd? Efallai y diangwch i'ch hen ymguddfa gadnoaidd etto fel y gwnaethoch o'r blaen, a gwaeddi oddiyno, na allwch chwi oddiwrth anwiredd gohebiaethau a ddanfonir i chwi. Ond ni thal hyny, canys darllenwch eich gomeddiad i'r amddiffyniad yn wynebgaled fel o'r blaen:—

"Ni ellir rhoddi lle yn yr *Amserau* i lythyr maith Mr. J. P. mewn amddiffyniad i'r Mormoniaid, neu "Saint y Dyddiau Diweddaf;" oblegid ni cheid byth derfyn ar ddadleuaeth ar bwnc o'r fath. Gall ein gohebydd gael ei ysgrif, os geilw yn ein swyddfa."

"Cyn siarad yn ddrwg am neb, dylem ofyn i ni ein hunain dri chwestiwn: yn gyntaf, A ydyw yn wirionedd? Yn ail, A ydyw yn garedig? Yn drydydd, A ydyw yn anghenrheidiol?"

Yr oedd y J. P. hwn yn y fan ar lle pan y bu y wraig gyfeiriedig yn traddodi y "bragaldio" hyny. Hysbysodd efe a phregethwr arall o'r Saint ar gyhoedd ar ol iddi hi ddiweddu "nad oedd un cyssylltiad rhyngddi hi a'r Saint." Ond efallai nad oedd eich hanesydd yno pryd hyny meddwch. Pa un bynag am hyny, gallwn brofi mai celwydd gwybodus yw y cyhuddiad, canys y mae ddigon gwir ddarfod i'r wraig ei hun hysbysu ar gyhoedd fwy nac unwaith, ac mor ddealladwy hefyd a dim a ddywedodd, "nad oedd hi mewn cyssylltiad ag un enwad na phlaid." Rhaid fod eich hanesydd yno, onide pa fodd y gwyddai fod mawr anghen dwfr a sebon ar ei chroen a'i dillad? Os oedd ei lygaid yno i weled ei bryntni, paham nad oedd ei glustiau yno i glywed ei chyffesiad, yr hyn sy'n hollol groes i'w hanes ef? Onid amlyga hyn ynghyd a phob brawddeg arall o'i ohebiaeth mai gelyniaeth calon at y grefydd a gamgyhudda yw yr achos o'r cwbl. Hamdden felys i ddial oedd hyn, yn enwedig gan y gwyddai fod eich hopren chwi yn agored i'r fath sothach, ac nad yw yn agored i ddim amddiffyniad. A adewch chwi i'ch gwesyn enllibus a pheryglus hwn ymlechu yn ddirgelaidd rhag y cyhoedd yn hwy? Paham na chyhoeddasech ei enw i'r byd, fel y

gweler pwy yw'r *mad dog?*" Yr hwn a ddywedo Duw yn rhwydd wrtho sydd gyfranog o'i weithredoedd drwg ef, cofiwch; ac efallai nad anfuddiol fyddai rhoi i chwi ddose o'ch pills eich hun gan mai chwychwi yw y mwyaf clwyfus a adwaenom. Nid yw y *dose* ond bach! dim ond tair pilsen o'ch eiddo eich hun; ïe, yn yr un rhifyn, a dim ond trwch y papur rhyngddynt a gwreiddyn eich clwyf. Dyma hwy, Sir,—"Cyn siarad yn ddrwg am neb dylem ofyn i ni ein hunain dri chwestiwn. 1. A ydyw yn wirionedd? 2. A ydyw yn garedig? 3. A ydyw yn anghenrheidiol?" Cynghorion da iawn! Trueni na buasech wedi cofio gwneyd un o honynt eich hun, canys pe felly ni chyhoeddasech yr hanes uchod. Gan nid yw yn *wirionedd*, a phe buasai yn wirionedd, nid yw yn *garedig*, llawer llai *anghenrheidiol*. Y "meddyg iacha dy hun" sydd gynghor mor ddyddorol i chwi hefyd.

O fel y chwarddech yn wawdus, meddyliaf, pan welech yn eich colofnau, "fod Sant yn ngharchar yn dioddef erledigaeth." Ond diolchwn i Dduw y Saint fod ei angylion ef yn cadw y Saint rhag myned i garchar oddieithr am eu crefydd, a hyny nid yw yn ormod ganddynt i'w ddioddef nad faint eich gwawd gableddus chwi fel eiddo plant y fall gynt dan y cyffelyb amgylchiadau. Oni wyddech chwi, Syr, nad yw ein rheolau eglwysig ni yn caniatau i wraig bregethu? Dylasech wybod hyny cyn ymosod i drin am danom, canys y mae wedi ei gyhoeddi fwy nag unwaith yn eich iaith, "nad y'm yn cydnabod offeiriadaeth fenywaidd." Ond, nid yw yr hyn a ddywedwn ni yn deilwng o'ch sylw chwi, canys cymmaint a allwch chwi wneyd yw chwilio am gyhuddiadau a chelwyddau i'n herbyn, bid siwr. Ie, gwr unochrog hollol ydych chwi, a'ch hoff waith yw "cyhuddo y brodyr." Wel druan, ewch yn mlaen fel y mynoch yn awr, ond cofiwch, pe baech cyn rhydded a'r asen wyllt, y daw "mis" yn yr hwn eich dofir chwithau, ac y bydd eich llyfethr mor fyred a'r eiddo rhyw asyn arall. Daw, daw dydd cyn hir a chwytha ymaith noddfäau celwydd—pan y caiff pawb y gwir.

## YCHWANEG O EISIN CORN YN EI HOPREN ETTO! ETTO!! ETTO!!!

Pan yn ysgrifenu yr amddiffyniad blaenorol taflwyd y rhifyn canlynol o'r *Amserau*, sef, am Tachwedd 18ed, o'n blaen, a'r peth cyntaf braidd a dynodd ein sylw, yn lle amddiffyniad i'r cyhuddiad blaenorol, oedd yr hyn a ganlyna:—

"Y mae William Smith, y proffwyd neu y patriarch Mormonaidd, yn awr ar gael ei brofi am anfoesrwydd gwrthun."

Yn awr, Mr. enllibwr, a'i "caredig" yw cyhoeddi hyn hyd y nod pe gwir? Ai "anghenrheidiol" yw traflyncu crefydd anwyl eich cyddynion drwy ransackio'r byd am feiau personau? Ai caredig fyddai i ni neu arall gyhoeddi pechodau ysgeler ac anlladrwydd pregethwyr *Independia*, a chodi i'r gwynt pa nifer a garcharwyd, a ddienyddiwyd, ac a alltudiwyd allan o gyffiniau gwlad Gristionogol; heb son am y rhai na dderbyniasant etto eu teilyngdod! Pe gwnelid hyn yn ol eich rhesymeg chwi, drewai *Independia* yn ffroenau y cyhoedd saith gwaeth nag yw Mormoniaeth yn eich ffroenau chwi.

O barthed i'r "William Smith" y soniwch, oni ddywedasoch eich hunan wrthym drwy'r *Amserau* ei fod ef wedi gadael y Mormoniaid er's tua dwy flynedd yn ol? Do, do! a'i fod ef ar amlygu i'r byd rhyw

*fwci bw* anghenfilaidd o barthed iddi, &c. Ni soniasoch air am ei ymuniad a hwynt wed'yn, hyd nes y cewch ryw beth drwg—drycach, drygaf:—gwarthus, gwarthusaf, ïe, "gwrthun" i ddweyd am dano; ac yna, syndod! wele efe yn "brophwyd neu batriarch Mormonaidd" yn y fan! O'r fath brofion a geir ganddo yn erbyn Mormoniaeth!

Baw yn ei gwd heb un gem—ac eisin
Yn gysswllt mewn hylldrem.

Nid ystyriwn ein bod yn dweyd un newydd i chwi wrth ddyweyd nad yw y W. S. uchod yn Formoniad drwy un math o gyssylltiad, llawer llai yn "brophwyd neu batriarch;" ac o ganlyniad nad yw ei rinweddau na'i ffaeleddau, yn ffrwythau Mormoniaeth, mwy nag yn eiddo Independiaeth, neu ryw *aeth* arall.

Ni wyddom am well *pills* i garthu eich clwyf enllibus chwi o'ch cylla, ac o'ch esgyrn (os yw yn feddyginiaethol hefyd) na'ch *pills* eich hun etto, pa rai a gewch yn yr un gongl o'r hanes blaenorol;—

"Nid oes un gair a leferir dros wirionedd, yn syrthio yn ofer. Dywed wirionedd; gweithia allan wirionedd; tystia dros wirionedd,—a gâd y canlyniad i Dduw.

"Ein dyledswydd gyntaf at wirionedd ydyw ei gredu; y ddyledswydd nesaf ydyw ymostwng iddo."

Ac er tystio o hyd, ni roddwch chwi le byth i dystiolaethau gwirioneddol y rhai a gyhuddwch. Er hyny, "tystiwn" lle y caffom; ac yn ol eich cynghor "gadawn y canlyniad i Dduw." Gan eich bod chwithau yn caru celwydd yn hytrach na'r "gwirionedd," nid allwch feio arnom am eich gadael yn llaw y Duw hwnw ag yr ymleddwch mor ystyfnig yn ei erbyn,—ei "wirionedd" a'i eiddo: canys,—

Dyn a gwarsyth ddiarswyd—coleddwr
Celwyddau y'th brofwyd;
Ow syrthiaist, rhedaist i'r rhwyd
O'th ddwlni blin y'th ddaliwyd.

Byddwch chwithau o hyn allan mor gysson a chwi eich hun, a'n gadael ninnau a'n crefydd yn llaw yr un Duw; canys iddo ef y crefyddwn, ac i'w frawdle ef yr y'm yn gyfrifol, diolch am hyny, ac nid i frawdlys yr *Amserau* unochrog ac erlidgar. Clywsom lawer o son am rhyw "weinidog" a bregethai "ufyddhewch i'm gorchymynion i ond nid i'm esiamplau." Eithr ni wyddem mor siwr mai "*ti yw y gwr*" hyd nes darllenasom y cynghorion a rowch, a'u cymharu a'ch gweithredoedd enllibus. Gwiria eich camgyhuddiadau parhaus a chynyddol eich arwydd-air eich hun, a ganlyna:—

"Gall yr hwn sydd yn dda, ddysgwyl myned yn well; a'r hwn sydd yn ddrwg, ofni myned yn waeth; canys nid ydyw drygioni, rhinwedd, ac amser, byth yn sefyll yn yr unman."

Gwiriwch hefyd yr hyn a ddywed y Pregethwr, pen. xviii, adn. 11. "Oherwydd na wneir barn yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan, am hyny calon plant dynion sydd yn llawn ynddynt i wneuthur drygioni." Pa ddrwg mwy a allwch wneyd na chamgyhuddo crefydd, ac erlid plant Duw? "Yr hwn sydd yn cyffwrdd a chwi sydd yn cyffwrdd a chanwyll ei lygad Ef," a brofir yn wirionedd yn eich tynged chwithau

onid edifarhewch, mor sicr ag mai y cyfryw mewn gwirionedd yw y rhai a gamgyhuddwch. Caniataed y Duw graslawn i chwi amser i edifarhau, yw ein gweddi, os yn eich anwybodaeth y gwnewch hyn oll; os nade, gwnaed fel y bo da yn ei olwg.

---

## Y SEREN GOMER A'I CHABLDRAETH GREFYDDOL!

Mae hon hefyd wedi dysgu yr hen dric braidd cystal â'r *Amserau*, a'i cholofnau yn dylifo rhyw lysnafedd gwarthus ar ei chymmydogion beunydd oherwydd eu crefydd. Ond y mae hi yn gymmaint cyfrwysach nâ'r *Amserau* ag yw hi yn henach. Y mae hi wedi gollwng ambell dipyn bach allan mewn amddiffyniad i'w chyhuddiadau arnom, fel y gallai hòni rhyw fath o hawl i fod yn ddwy-ochrog; pan, yr un pryd, meddylia ladd dau aderyn ag un ergyd drwy hyny; ac nid oedd pan yn gwneyd hyny ond yn llwytho tucefn i'r curtain ei magaelau trymach i ymosod arnom. Tegwch Seryddol iawn oedd cyhoeddi beiddiad, megys H. Tegai i J. D., i ddod i'r maes, sef maes y *Seren*, ac yna gwrthod lle i'r amddiffyniad!!! Pwy arall o blant Gomer a driniwyd fel hyn mewn cyhoeddiad a broffesa fod yn rhydd? Etto, nid dyna y tro cyntaf iddi hi chwarae yr *Yankee tric* a'r Mormoniaid. Yn yr un rhifyn addefa iddi adael allan bethau dyddorol iawn yn bwrpasol er rhoi lle i ereill ein blagardio a'n camddarlunio yn hollol ddiachos, sef hanes anwireddus am "Ddarlithoedd Dowlais," &c. Chwi olygyddion Cymru! beth yw yr achos fod y folwst arnoch oll braidd ar unwaith? Paham cyfarth cymmaint am grefydd mor anadnabyddus i chwi? Beth a wnaeth neb o honom i'ch cynhyrfu fel bleiddiaid o'ch tyllau? Dywedwch, os gallwch, beth yw yr achos? Os ydym yn euog, paham na chyhoeddwch hyny, ynte, yn lle cyhoeddi celwyddau arnom o flwyddyn bwy gilydd? Ai tybied na chyhoeddech ryw drosedd arnom, pe gwyddech am un? Profa eich awydd i gyhoeddi camgyhuddiadau, na allwch gael pethau gwirioneddol i'n niweidio.

Pa ddyn rhesymol a all gael geiriau teilwng i ddangos ysgelerder, enllib, a phechadurusrwydd yr ysgrif hono a ymddangosodd yn y *Seren Gomer* am fis Tachwedd, dan yr enw o "*Anerchiad Seintiau y Dyddiau Diweddaf at eu Cydwladwyr!*" Onid digon drwg oedd cyhoeddi anwireddau arnom dan ffugenwau, a dim enwau yn y byd, heb y weithred olaf ac annuwiolaf hon o forgio ein henwad? Cymmeryd yr hyfdra i gyhoeddi y fath sothach enllibaidd ar ein henwau ni ein hunain!! Dyma ei gwneyd hi yn iawn. Dyma waeth na chyhoeddi y "Gyffes Ffydd" hono ychydig yn ol. Pe eiddo y Saint rhyw anerchiad, ai tybied y caffai ymddangos? O na chawsai. Wel, yn enw rheswm, ai gwell o ran dylanwad ar y cyhoedd, ynte ai melysach gan chwaeth y cyhoeddwr, yw ffug-anerchiad brwnt, dan forgio enw plaid gyfan o grefyddwyr! Beth pe coeliai y werin fod yr anerchiad hwnw yr hyn a broffesa fod, sef yn eiddo y "Seintiau?" pwy a ddeuai i'w gwrando? a phwy a ddeuai i wrando y Bedyddwyr hefyd, pe ffugiai rhyw ddyn drwg enw eu plaid i'w camddarlunio hwy gymmaint ag a wna yr anerchiad hwn arnom ni? Paham nad ystyrir fod ein crefydd ni mor dda ac mor anwyl yn ein golwg ni, ag yw yr eidd-

och chwithau i chwi? Etto, meddwn, gwnewch a fynoch, nid gwaeth genym, canys y mae Duw o'n plaid er hyll floedd yr holl fleiddiaid!

---

## Y SAINT YN CALIFORNIA.

[*Allan o'r "Millennial Star."*]

"*Yn ddiweddar oddiwrth y Mormoniaid.*—Deallwn drwy gyfrwng llythyrau diweddar oddiwrth wersyll blaenaf y Mormoniaid, eu bod hwy wedi cyrhaedd yn ddiogel a chysurus i gyffiniau y Llyn Halen mawr, lle yr ymsefydlant am yspaid, ac y mae eu gwartheg a'u diadelloedd yn gwledda ar y borfa frrs, a'r dyfroedd puraidd, ag sydd mor nodedig yn y parthau hyny. Gwnaethant ffordd newydd oddiwrth lwyth Indiaidd Omaha hyd i odrau y mynyddoedd creiglyd, yr hon fydd yn rhwyddineb mawr yn ddiau i ymfudwyr ereill a ddeuant ar eu hol o'r Unol Daleithiau. Mae hon i'r gogledd i ffordd Oregon—ac yn fwy uniongyrchol—adeiladasant bontydd cedyrn dros y prif afonydd. Arddengys hyn eu bod hwy wedi llafurio yn galed, a dyoddef llawer wrth ei hagoryd. Wedi cyrhaedd tuhwnt i Grand Island, cawsant eu gwala o wartheg gwylltion, er cryfhau gïau y gwrolion hyn. Daethant i blith oddeutu deng mil ar unwaith, neu fel y cyfrifa un hanesydd, "fod yno tuag wyth neu ddeg miliwn o bwysau o beef." [marchnad lled lawn a rhad i alltudiedig blant Duw yn y goedwig!] Pan y gwneir rheilffyrdd o Missouri i'r Môr Tawdd, diau y caiff y llywodraeth, neu pwy bynag a'u gwnelo, well goruchwylwyr a gweithwyr o blith y Mormoniaid, nag a allant gael o blith neb ereill—cedyrn feibion erlidigaeth barhaus, y rhai a ddiystyrant ac a orchfygant bob rhwystrau a pheryglon fel pethau dyddim. Y mae argraffwasg newydd etto ar y ffordd yn myned atynt yno.

"O. B. H."

Newyddion melys iawn yw hyn i blant Seion drwy'r byd, ac i'r Cymry hefyd. Diolchwn i'w cynnaliwr am ei diriondeb mawr tuag atynt hwy. Wele y blaenflrwyth wedi cyrhaedd i'r ysgubor; beth a all luddias y cnwd mawr? Dim daearol, na than-ddaearol, meddwn, tra y cadwant gyfraith Seion! Na feddylied y Cymry ychwaith eu bod hwy wedi cyrhaedd allan o eisieu cymhorth. O na, ond yn awr pan y maent yn dechreu ymsefydlu mewn gwlad mor newydd, dan gymmaint o anghyfleusderau, ar gost traul eu heiddo, eu harian, a'u dillad, &c. Yn awr, meddwn, y mae mwyaf anghen cynnorthwy er adgyweirio, er cael defnyddiau adeiladau, gwisgoedd, had i roi yn y ddaear, a'r pethau anghenrheidiol er llafurio y ddaear, a chario yn mlaen y gwahanol gelfyddydau anghenrheidiol i fod yn gydfynedol â'u gilydd. Ystyrier mor fanteisiol a hyfryd fydd cyrhaedd i wlad lle y bo pob peth anghenrheidiol i'w gael, rhagor myned fel y maent hwy i le nad oes dim o'r cyfryw ond a sefydlant eu hunain. Pared hyn ynom gydymdeimlad â hwynt, nes y gwnelom oll y "*long pull a strong pull, and a pull altogether,*" yn awr, er eu mwyn hwy—y gwaith a wnant, ac er mwyn y lles a ddysgwyliwn ninnau oddiwrth ffrwyth eu llafur caled eu dyoddefiadau hwynt. Hyderwn yn fawr y byddwn yn

alluog i gyflawni ein hadduned iddynt yn y Gymmanfa nesaf. Beth meddwch, blant Seion? Os ydych oll o'r un feddwl, ni'm siomir

Deallwn fod miloedd lawer yn ychwanegol o Saint ar eu taith o'r taleithiau tua California. fel colomenod yn ehedeg i'w ffenestri. Mae rhyw ymchwiliad mwy awyddus a llwyddiannus i egwyddorion Mormoniaeth drwy'r taleithiau yn awr nag erioed. Mae y dystiolaeth olaf hon, sef ymadawiad y Saint o'u plith, yn ychwanegol at lais "gwaed prophwydi ac apostolion santaidd a saint," yn dylanwadu yn rhyfedd drwy'r wlad, ac yn arddangos fod Duw o ddifrif am "wneuthur ei waith, ei ddyeithr-waith," ac am gasglu ei blant ynghyd "i'w hystafelloedd am enyd fechan, hyd onid elo yr aflwydd heibio." Nid pawb sydd yn deall arwyddion yr amserau yn yr oes oleu hon, fwy nag yr oeddynt yn nyddiau Noa, neu ddinystr Jerusalem, canys nid yw pawb yn myned i'r fan a ddarparodd Duw i fod yn waredigaeth rhag barnau y dyddiau diweddaf, mwy nag yr elai pawb i'r arch—neu yr elai pawb o Jerusalem i'r mynyddoedd. O na, dim neb ond y saint hyny a ddeallent drwy Ysbryd y dadguddiad iddynt eu hunain pa le y byddai eu gwaredigaeth. Wrth hyn hefyd gwelir y fendith fawr yw cael, ïe, yr anghenrheidrwydd anhebgorol sydd am gael dadguddiadau dwyfol ac ychwanegol yn ein hoes ni, fel yn mhob oes arall ag y mae Duw yn gwneuthur gwaith. "Canys ni wna yr Arglwydd Dduw ddim [yn yr oes hon fwy na chynt] a'r na ddangosa ei gyfrinach i'w weision y prophwydi." Gwrandawer eu llais, ac ufyddhaer i'w galwad, fel yr etifeddom nid yn unig waredigaeth dymhorol, a gorphwysfa hyfrydol oddiwrth bob gormes a newyn, ond hefyd, fel y der yniom ein cynnysgaeddiad dwyfol yn nhemlau ein Ior, fel ein haddaser drwy berffeithiad ein deallwriaeth a'n santeiddrwydd i fwynhau ei gymdeithas ddaionus Ef—patriarchiaid a phrophwydi, ynghyd â'r dedwydd deulu nefol; ac y caffom fynedfa helaeth i mewn i lawenydd ein Harglwydd pan ddelo efe i'w ogoneddu yn ei saint. Dyma'r ffordd i gyrhaedd y nod. Saint anwyl, rhedwch yr yrfa hon yn gyflym, a chwi a fwynhewch, o gam i gam, "daledigaeth y gwobrwy."

Dysgwyliwn yn awyddus o hyn i ddiwedd y flwyddyn hon am y newyddion daionus oddiwrth ein llywyddion am agoriad y ffordd, a chyfarwyddiadau i ninnau ei theithio tuag atynt hwy; canys, diau eu bod hwy yn gofalu drosom ninnau hefyd. Henffych! ïe, galwad, meddwn a'n holl galon.

---

## Y TRYSOR GOREU.

Yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw,
Na cheisiwch olud byd;
Y trysor goreu ceisiwch chwi;
Mae'r lleill i'w cael o hyd.

Mae'n fwy o les i enaid dyn,
Na'r byd a'i olud mawr,
I ryngu bodd ei nefol Dad,
A gwneyd ei gais bob awr.

Bydd hyn yn olud o barhad,
  Nas gwyr y byd ei faint—
Cael etifeddu Seion Duw,
  A thrigo gyda'i saint.

Caniadau Moses ac Oen Duw,
  Fydd yno'n boddio'r glust;
Ceir drachtio'n llon o'r newydd wîn,
  Yn neithior Iesu Grist.

J. D.

---

## HYNT YR EGLWYSI.

Da genym hysbysu fod pob hanesion a'n cyrhaedda, nid yn unig o bob parth o Gymru, ond hefyd o Loegr, Scotland, yr America, a phob man lle mae yr efengyl yn cael ei phregethu, yn arddangos fod cynnydd cyflym a pharhaus ar y gwaith dwyfol hwn; a bod, nid yn unig lluosogiad mawr mewn rhifedi, ond hefyd fod cynnydd mewn undeb, sel, a santeiddrwydd, yn amlwg yn mhlith y Saint, ac mewn mwynhad cyflawnach o ddoniau yr Ysbryd Glân yn barhaus. Ni ddarllenwn am gymmaint o erlid a gwrthwynebu yn un man ag sydd yn ein gwlad ni yn y dyddiau hyn. Er hyny, na ddigalonwn, frodyr a chwiorydd hynaws, canys y mae ein Duw galluog o'n plaid, ac yn goruwch-lywyddu y cyfan i fod er cyflawni ein gwaith, o rybuddio ein cenedl, a'u gwahodd o afael dinystr mewn byr amser. Diolch i'n Duw ein bod ni yn gwybod beth yr ydym yn ei gylch, ac y gwyddom y coronir ein llafur â llwyddiant, ïe, â buddugoliaeth drwyadl, os daliwn hyder ein proffes yn wrol am enyd fechan etto. Dyrchefwch eich penau, ac edrychwch ar "arwyddion yr amserau!" Clustymwrandewch ar y newyddion! Swn rhyfeloedd yma, a thywallt gwaed dynion wrth y miloedd a glywir oddidraw! Newynau, heintiau, a chlefydau, a gylchredant draws y byd;—masnachau y byd, a'u marsiandwyr cyfoethocaf yn cael eu hunain yn waeth na gwerth dim heb nemawr oriau o rybydd;—a chalonau mawrion y byd yn crynu ac yn arswydo rhag ofn yr hyn a ddysgwyliant arnynt;—yr ymborth yn codi mewn pris, a'r cyflogau yn gostwng, ynghyd â llawer o bethau ereill ydynt oll yn arddangos fod ein byd mewn dyryswch—fod barnau Duw yn prysur ddilyn sodlau ei weision a'u cenadwri ddwyfol am y tro diweddaf; ac ... ll, meddwn, yn dystiolaethau i'r rhai y "rhoddwyd i adnabod arwydd-...n yr amserau," fod amser eu "hymwared yn agosâu." Diolchwn i'n ...waredwr am ein bod yn gwybod am y ddiddosfan, lle y trefna Duw ...aredigaeth lawn i'w blant rhag pob drwg; ac ymdrechwn gwblhau ...n gwaith ar frys, fel y byddom barod i fyned pan y swnir y gwa...ddiad pwysig yn ein clustiau ninnau, sef "Deuwch allan o honi hi ...mhobl i, ac na fyddwch gyfranogion o'i phechodau, fel na dderbyn...h ei phläau." Cofiwn mai dyeithriaid a phererinion ydym yma, a ...ai sydd yn ceisio gwlad well, ac ymgysurwn.

Merthyr.—Y mae yn ormod gorchwyl i ni allu hysbysu pa nifer a fedyddiwyd yma y mis diweddaf, oherwydd bedyddir llawer nos a dydd, ac weithiau gynnifer a deg yr wythnos; ond hyn a ddywedwn, nad ydym yn cofio am nemawr gwrdd Saint er ...calm â'r na dderbynid rhai i mewn. Ac yn mhellach dywedwn, fod nifer y ganghen ...i yn awr yn, os nad dros, 600 o aelodau ffyddlon a selog, a mawr y llawenydd sydd ... eu plith, a'r cynnydd yn mhob gweithredoedd da. Dylem ddiolch i'n herlidwyr

(pe dylem hefyd) am achosi yn mhlith pethau ereill rhyw gyffroad anarferol yma, ac achosi ymchwiliad mwy nag erioed i'r athrawiaeth a bregethwn; ac y mae nid yn unig pobl ddibroffes, ond proffeswyr hefyd, ïe, a'r rhai a fu yn flaenoriaid a phregethwyr parchus yn nesu, yn gwrando, yn credu, ac yn ufyddhau, ac yn dweyd na chymmerent y byd am y cyfnewidiad. Brysio wnelo ychwaneg, meddwn.

Dowlais.—Mae y gwirionedd ar ei gynnydd yma; ac y mae y dwndwr wedi dystewi fel tyrfau haf, ac yn dwyn cawodydd peraidd ar eu hol, er llawenydd i'r Saint, ac ychwanegiad at eu rhifedi braidd bob wythnos. Mae hyn, fel pob peth arall, yn profi mai gaubrophwydi yw y rhai a brophwydent fod y Mormoniaid wedi cael yr *home stroke*, &c., canys sicrhawn ei bod hi yn fwy byw a gogoneddus nag erioed. Diolchwn i'w hawdwr am dani.

Caerdyf.---Bedyddiwyd wyth yma yn ystod y mis diweddaf, ac argoelion da am ychwaneg; a da iawn genym glywed fod y Saint yn unfrydol yn fwy egniol nag y buont. Gobeithiwn y gwyliant fel pe o flaen dannedd y llew.

Aberdar.—Mae y ganghen hon yn ysgythru y mwswgl oddiarni, a dysgwyliwn oi gweled yn fuan yn blodeuo etto fel canghen iraidd yn yr haf. Ychwanegwyd dau at eu rhifedi yr wythnos hon. Daw lluoedd, canys etto y mae lle.

Abersychan.---Wedi hir guro ar y gareg adamantaidd hon, y mae o'r diwedd wedi tori yn ysgyrion. Bedyddiwyd 19 yma yn yr un wythnos, a 24 mewn llai na hyny o ddyddiau, ac yn ol pob arwyddion, y mae lluoedd ar y drws; ac y mae y Saint yn llawen fwynhau bendithion plant Duw yn ol addewidion Iesu Grist, ac yn cael tystiolaethau cedyrn a lliosog ofod Duw a'i waith yr un ag yr oedd yn y dyddiau gynt. Yn mhlith ereill a fedyddiwyd yma, y mae tafarnwr a'i deulu, yr hwn a roddodd enghraifft o'i onestrwydd a'i awydd i wasanaethu Duw, drwy dynu ei *sign* i lawr yn y fan, gan ddywedyd, na cheisiai efe wasanaethu Duw a Bacchus, a bod crefydd mor ogoneddus â hon yn teilyngu pob aberth er ei mwyn. Dyma un enghraifft i brofi fod yn ei grefydd rym a dylanwad, er nad o'r un natur ag y dywed ein cyhuddwyr. Er nad yw ein rheolau eglwysig yn pendant orchymyn hyn, etto y mae yn esiampl deilwng o efelychiad pan y mae hyn neu unrhyw fasnach arall yn rhwystro dyn i addoli Duw. Taled yr Arglwydd i'r brawd hwn ar ei ganfed, meddwn. Yn mhlith y lluaws o offerynau a oddefa Duw i gael bodolaeth er puro a pherffeithio amynedd ei blant, y mae gerllaw yma rhyw hen daeliwr sarug a Phariseaidd, yr hwn sy'n brysur iawn, ïe, yn aml cyn gorphen gwisgo yn y boreu yn dilyn ar ol y rhai gweiniaid newydd eu bedyddio, yn enwedig y benywod, gan eu herio i wneyd gwyrthiau, &c. Ond o'r diwedd, cafodd yr hen daeliwr ei *fatch* yn bert iawn! Ymwthiodd ei hun fel hyn i dy un fenyw a fedyddiasid y dydd blaenorol, a gofynodd iddi hi fwrw y cythraul allan o hono ef! Ond gofynai dyn arall ag oedd yn dygwydd bod yno ar y pryd i'rhen daeliwr, a oedd efe yn hòni bod yn blentyn i Dduw? "Ydwyf siwr," ebe y taeliwr yn warsyth iawn, "er's dros 17 o flynyddau." "Wel," ebe'r llall, a mwy rhesymol o lawer, "rhyfedd iawn fod hen blentyn i Dduw fel chwychwi yn ceisio y fath beth gan blentyn nad yw yn gynnifer o oriau o oed ag ydych chwi o flynyddau, onide!" Y peth nesaf a welwyd o'r hen daeliwr oedd ei gwt yn llusgo ar ei ol i'w dwll. Ac os clywir ei ddyfod allan etto ar yr un fusnes, cewch wybod pwy yw, ac ychwaneg o'i hanes. Syndod na ddysgai ei frodyr iddo well moesau!

Blaenau Gwent.---Bedyddiwyd 5 yma yn ddiweddar, ac y mae yn myned yn y blaen yn lled lwyddiannus. Bu yma rhyw ddyn, a bu yr un dyn mewn canghenau ereill, yn proffesu bod yn aelod gyda'r Saint yn Scotland, ac yn ymlusgo i'r cyrddau, ac i dai y Saint, gan holi cwestiynau dichellgar, a cheisio eu rhwydo i roddi rhyw destynau iddo ef i gael ysgrifenu celwyddau arnynt i'r byd; ond daliwyd ef yn ei frad. Na choelier pob ysbryd a ymrithio i'ch plith, serch eu dyfod yn wenieithus iawn weithiau fel hwn; ond profwch hwy yn iawn cyn y caffont ran yn eich cariad-wleddoedd. Brychau a meflau ydynt, yn dyfod i mewn i yspïo eich rhyddid, fel y gallont eich traflyncu yn ngwydd y byd. Na roddwch bethau santaidd i'r cwn. Nid oes rhyddid i neb ddyfod i eglwys Dduw ond trwy y drws, sef bedydd, a'r rhai a ddeuant rhyw ffordd arall, lladron ac yspeilwyr eu hystyrir yn awr fel cynt.

Nant-y-glo.—Bedyddiwyd pump yma yn ddiweddar, ac y mae y chwaer hon eisoes wedi magu bronau, a chael yr anrhydedd o fagu meibion gwrol a defnyddiol, pa rai a aethant a'u had da i amryw barthau o'r wlad, ac y mae yn egino yn hyfryd, gan addaw cynauaf toreithiog. Yn mlaen yr elont.

Pen-y-cae.—Bedyddiwyd dau yn ddiweddar, un o ba rai a fu yn ddiacon parchus, ac o ddylanwad mawr gyda'r Bedyddwyr am flynyddau; ac ni bydd terfyn ar ei ddiolch, oherwydd iddo ddewis y rhan dda, os parha yn ffyddlon ynddi.

VICTORIA.—Bedyddiwyd chwech yma er y Gymmanfa, dau o ba rai oeddynt oddiwrth y Bedyddwyr etto! un gyda'r Wesleyaid, heblaw ychwaneg yn credu.

TREDEGAR.—Bedyddiwyd dau yma yr wythnos ddiweddaf, a gobeithiwn nad yw y rhai hyn ond blaenffrwyth o'r ail gnwd yn y lle poblogaidd hwn. Chwi Saint, gwyliwch ar eich ymarweddiad, na bo ynoch ddim i rwystro y rhai gonest eu calon i ddyfod i deulu Duw, canys "gwae y rhai hyny trwy ba rai y delo rhwystrau."

BLAENAFON.—Bedyddiwyd dau, ac y mae amryw ar y drws yma, a phe caent y manteision a geir mewn manau ereill, deuent i mewn. Hyderwn y gallo llywydd y Gymmanfa lwyddo i gael henuriad selog a diwyd i fyned yma cyn hir, yr hwn a allo iawn gyfranu gair y gwirionedd i'r rhai sy'n marw o eisieu gwybodaeth am drefn Duw i achub dyn.

PONT-Y-BEREM.---Ychwanegwyd pedwar at rifedi y Saint yma yn ddiweddar, un o ba rai oedd yn 91 o flwyddi o oedran. Canmola yr henuriad H. Williams, a'r pregethwyr ereill, foneddigeiddrwydd a gonestrwydd ymchwiliadol trigolion y cylchoedd hyn yn fawr iawn. Nid yn unig deuant i wrando yn astud, ond manwl-chwiliant yr ysgrythyrau eu hunain, a mawr yw eu llawenydd pan ganfyddant fod addewidion Iesu Grist ar eu rhan hwythau i gael mwynhau y doniau ysbrydol, a chymdeithas ddaionus ei Lân Ysbryd ef fel cynt. Mae amryw ereill wedi addaw ufyddhau i ammodau yr efengyl cyn hir. Mawr ddiolcha y Saint i feistri a goruchwylwyr y gweithfäau hyn am eu tiriondeb tuag atynt, a'u rhyddid iddynt i addoli Duw, fel ag y mae ereill yn cael. ac am nad ydynt, fel y mae rhai, yn credu pob chwedlau a ddygir iddynt gan wyr y clecs, i'r dyben o'u herlid o'r wlad. Gweddiwn ar i Dduw y Saint ad-dalu iddynt ar eu canfed am eu tiriondeb tuag at ei blant ef.

CWMAMAN.---Taer erfynia yr henuriaid J. Griffiths a R. Davies am gynnorthwy i bregethu yn y cylchoedd hyn. Mae y galwad mor fawr a thaer fel na wyddani braidd pa le i fyned gyntaf, ac yn cynnyddu fwy-fwy. Er na fedyddiwyd yno ond dau yn y mis diweddaf, etto yn ol yr arwyddion presennol, nid yw y rhai hyny ond blaenffrwyth o gynauaf toreithiog o eneidiau i eglwys Dduw. Canmolir y meistri a'r goruchwylwyr hyn hefyd yn fawr gan y Saint.

LLANELLI.---Hysbysir ni yn barhaus o fedyddiadau yma, ac y mae 41 wedi eu bedyddio er y Gymmanfa. Y rhai hyn oll braidd ydynt wedi bod yn manwl ymchwilio yn mhlith crefyddau yr oes am y wir grefydd, a buont, gan mwyaf, yn aelodau gyda'r Bedyddwyr a'r Annibynwyr am flynyddau, ac heb braidd byth frychcuyn ar eu cymmeriad; er hyny, can gynted ag y delont yn ddysgyblion gwirioneddol i'r hwn a ddywedodd, "Chwi a fyddwch gas gan bawb er mwyn fy enw i," gwiria hyd yn nod eu brodyr y brophwydoliaeth hon drwy eu herlid, yn enwedig eu cyn-fugeiliaid, pa rai a ymborthent arnynt hwy yn lle eu porthi; ac yn enwedig ceisia gweinidog y Bedyddwyr, o'r enw James Spencer, larpio y rhai a'i porthent ef yn fras! Gweled y mae na chaiff ychwaneg ganddynt o gnu, onide ni fyddai mor awyddus am larpio eu croen: ond nid oes neb yn ofni hyd ei ddannedd, canys y maent wedi pydru. Onid yw yn arwydd eglur o ddallineb rhyfeddol dynion fel hyn, eu bod yn meddwl cadw dynion gonest a rhesymol dan eu crafangau yn y tywyllwch, drwy ddifenwi y rhai a'u dygant i oleuni, ac yntau yn cael ffeithiau mor luosog i brofi mai hollol groes yw yr effaith ag y mae ei erlidigaeth yn ei gael? Mynych iawn y gofynir i ni, "Yn enw rheswm, pa beth yw yr achos fod y Bedyddwyr yn mhob man mor nadedig o waedlyd tuag at y Saint, yn anad pawb arall, ac yn mynu bod yn flaenoriaid yn mhob erlidigaeth?" Y mae genym ateb i roddi i hyny cyn hir, ond byddai yn rhy faith yma.

Da genym hysbysu fod yr holl Saint yn unfrydol er y cwbl, mewn cariad gwresog at eu Duw a'i waith, ac yn llawen fwynhau o "fara y plant," nes y mae eu cynnydd mor fawr mewn doethineb ddwyfol, a phob duwioldeb. Dywedwn wrth Saint Llanelli, er eu cysur, fod eu "Balaam" hwy wedi dychwelyd i'w hen regfa, ond nid yw yn gallu melldigo Israel un dim. Y mae yntau druan wedi darfod, fel y darfyddodd ac y derfydd pob ser gwibiog a dorant ar draws cylchoedd y planedau; ni welir ei wreichion, ac y mae ei sawyr wedi cael ei chwythu ymaith. Gwir a glywsoch fod asgwrn ei gefn wedi tori dan fortlwyl y beili!

CWMBYCHAN A'R BRYN.---Clywsom gan amryw fod rhyw liaws mawr wedi cael eu bedyddio yma yn ddiweddar, a'r holl bregethwyr yn brysur iawn wrth eu gwaith. Efallai mai dyma yr achos na chafodd y llywydd gymmaint o amser ag i'n hysbysu er ys talm eu nifer na'n hynt.

CAERFYRDDIN.---Mae y ganghen hon yn blodeuo o'r newydd, a rhifedi y Saint wedi cynnyddu trwy fedydd yn y ddwy wythnos ddiweddaf bedwar. Hysbysa yr henuriad B. Jones oddiyno fod yno ugeiniau ereill yn credu yr efengyl hon, ac argoelion gobeithiol am liosogiad buan, yn enwedig yn y cylchoedd am amryw filldiroedd, lle y-

mae galwad mawr am bregethu, a gwrandawiad astud. Maent wedi cael neuadd gyfleus yn y dref, lle y pregethir yn gysson i dorf o wrandawwyr boneddigaidd. Dymunant am ran yn ngweddiau y Saint, yn enwedig eu mam ganghen yn Merthyr, a dywedaf finnau Amen.

SIR BENFRO.---Mae y gwaith ar gynnydd parhaus drwy y Sir hon. Hysbysa yr henuriad J. Morris, ei fod yn cael gwrthwynebiad anfoneddigaidd a chas yn aml, yn enwedig pan yn bedyddio. Hyd yn nod pan yn gweinyddu yr ordinhad ddwyfol hon ymosodid ar ei berson, a theflid cerig atynt i'r dwfr, &c., &c. gwneid hyn gan broffeswyr crefydd, yn mysg pa rai yr oedd o'n cyfeillion y Bedyddwyr fyth! Ac oni bae tiriondeb dynion dibroffes, buasai yn waeth ar y Saint! Dymuna y Saint gydnabod amddiffyniad boneddwyr y wlad, yn flaenaf Mr. Owens, yn ddiolchgar. A phwy na ddiolchai am ryddid i addoli Duw, pan y mae proffeswyr crefydd yn ceisio eu rhwystro, ac yn eu gorfodi weithiau i fyned filldiroedd o ffordd yn y nos yn ddirgelaidd er mwyn cael llonyddwch i weinyddu un o ordinhadau ty Dduw! Yn mha wlad baganaidd y ceir cyffelyb i hyn, heb son am fod yn mhlith "Cristionogion" Gymru gleu? Mawr yw amynedd ein Duw, diolchwn mai dan ei ofal ef y mae pob peth, ac y try y cyfan er daioni yn y diwedd.

LLANYBYDDAR A BEECHFA.—Mae amryw wedi cael eu bedyddio yn y manau hyn yn ddiweddar, yn enwedig yn yr olaf; ac yn mhlith ereill, rhai o ddiaconiaid y Bedyddwyr, ac o flaenoriaid y Calfiniaid, nes y mae yno yn awr 25 oll wedi, ac yn parhau i gael tystiolaethau adeiladol gan Dduw o'u cymmeradwyaeth ger ei fron. Mae galwad mawr am ychwaneg o bregethu yn y cylchoedd, ac amryw wedi penderfynu i godi eu croes, a dilyn Iesu drwy bob gwawd a rhwystrau. Mae ein hanwyl frawd, henuriad T. Jeremy, wedi bod yn selog a llwyddiannus iawn, ynghyd â henuriad T. Harris, ac ereill, a Duw yn bendithio eu llafur, er cysur ac adeiladaeth i'r Saint, a dwyn goleuni dwyfol ger gwydd y byd. Maent wedi achosi ymchwiliad rhyfeddol o'r newydd i'r ysgrythyrau drwy'r cylchoedd hyny. Dywed T. H., er prawf o hyn, fod yn anhawdd cael tai glân, medd y bobl, lle yr elo y Seintiau, oherwydd fod yr hen Feiblau llychiog ag oeddynt wedi bod yn gauedig ar hyd eu tai am hir amser yn cael eu troi a'u trafod yn brysur, "er gweled a oes ynddynt yr ysgrythyrau dyeithr a rhyfedd a ddarllena y Seintiau o'u beiblau hwy!" Wel, nid pobl mor ddrwg yw y rhai a achosant chwilio yr ysgrythyrau, serch eu bod yn "Seintiau!" Cynnydded yr ymchwil, ac nid ofnwn o barthed i gynnydd y Seintiau lle y mae gonestrwydd. Mae y cyffroad yn mhlith yr hen yn gystal ag ereill, er enghraifft darllener yr hyn a ganlyn: "Yr oedd rhyw ddyn yn gwerthu *spectacles* ffordd hyny, ac annogid ef i fyned i'r manau lle yr oedd y Seintiau yn pregethu, am nad oedd nemawr eisieu *spectacles* ond lle yr oedd y bobl yn chwilio i'w beiblau yn ol eu cynhyrfiad hwy," Da er ei les ei hun fyddai i'r gwerthwr frysio, rhag y bydd Saintyddiaeth yn goleuo eu llygaid i allu darllen heb *spectacles*, os ufyddhant iddi. Cofus am yr hyn a wnaeth i "Daniel Dywyll" yn ol ei dystiolaeth ei hun, sef ddarfod iddo weled y ganwyll ar y ford yn eglur y tro cyntaf y gweinyddwyd yr ordinhad iddo! A bydded ei ddiwedd truenus ef yn rhybudd i bawb beidio cellwair a chamddarlunio gwaith Duw!

Drwg genym glywed am y ddamwain alarus a ddygwyddodd i'r brawd Jeremy drwy ddrylliad dryll, yr hwn a glwyfodd ei ben mor anafus, nes y dywedai y presennolion ei fod tuhwnt i feddyginiaeth. Llawen iawn oedd genym glywed hefyd ei fod mor ffyddiog ac ymddiriedol yn ei Dad nefol a'i feddyginiaeth, fel na fynai ddim arall, ac mai yr unig alwad a geid o'i enau oedd am henuriaid yr eglwys. Dyma ffaith i brofi dwyfoldeb ei grefydd pan mewn amgylchiad cyfyng a pheryglus; a wnaethai efe hyny, oni bae ei fod yn credu y cai iechyd drwy yr olew a'r arddodiad dwylaw? Nid dyma y tro cyntaf iddo weled fod Duw yn un a'i addewid. Gweinyddwyd iddo yn ngwydd torf gan henuriad *Thomas Harris*, ac er nad i gyd ar unwaith, ac er yn groes i ddysgwyliad yr edrychwyr, etto derbyniodd iechyd i raddau helaeth, ac y mae yn gwella yn gyflym er hyny. Diolchwn i'n Tad nefol, a gweddiwn yn barhaus drosto.

SIROEDD Y GOGLEDD.—Hysbysa ein hanwyl a'n llafurus frawd henuriad A. Evans fwy o newyddion dyddanus o barthed i gynnydd y gwaith dwyfol hwn drwy'r Gogledd nag a allwn gael lle i'w cyhoeddi yma. Er nad oes rhyw gynnydd gwyrthiol yn eu plith, etto y mae rhai yn cael eu bedyddio yn fynych. Bedyddiwyd amryw yn ddiweddar mewn manau newydd hefyd. Mae y Saint yn hynod o ffyddlon a phenderfynol i fyned yn y blaen drwy bob dirmyg a rhwystrau, nes cyrhaedd y gamp uchel yn Nghrist Iesu. Dysgwyliwn y byddwn alluog i gynnorthwyo ein brodyr Gogleddol ar ol y Gymmanfa hon, drwy anfon mintai o bregethwyr doniol y Deheubarth i blanu eu gwinllanoedd.

---

## *HYSBYSIADAU.*

### AT EIN DOSPARTHWYR.

GAN nad oes un rhifyn arall o'r *Prophwyd* i ddyfod allan eleni, taer ddymunir ar bob dosbarthwr ymbarotoi i settlo eu cyfrifon am y flwyddyn am y llyfrau ereill, yn gystal â'r *Prophwyd*, erbyn y Gymmanfa.

D. S. Byddai yn dda genym brynu ein llyfrau ein hunain, sef y rhai canlynol, yn ol, a thalu eu cyflawn bris am danynt, os byddant yn lân, sef yr *Hen Grefydd Newydd*, yr *Atebydd*, y *Gloriad*. yr *Anerchiad*, y *Prophwyd* rhif. 1, 7, 8. Pwy bynag sydd yn eu meddu, anfoned hwynt yma, a chaiff yr arian, neu lyfrau ereill, yn eu lle. Nid pob awdwr a wna hyn, ac nid yw y gofyniad rhyfeddol o gynnyddol hwn am ein llyfrau yn profi adfeiliad yn ein crefydd ddim!

*** Mae genym lyfrau Hymnau Cymreig, wedi eu rhwymo, 6c. yr un.

*** Ymddengys Adolygiad ar Ddarlith y Parch. E. Roberts yn y Capel Isaf, Merthyr, yn y nesaf, neu yn draethawd cyn gynted ag y gellir ei argraffu.

*** Y sawl a ewyllysio gael ol-rifynau o'r *Prophwyd*, neu y *Milennial Star*, anfoned yma yn ddioed.

### CYMMANFA NESAF MORGANWG.

BWRIEDIR cynnal y Gymmanfa uchod yn Neuadd y Cymreigyddion yn Merthyr, dydd Sul a Llun, Rhagfyr y 26ain a'r 27ain, sef y cyntaf ar ol dydd Nadolig.

*** Dysgwylir dyeithriaid o'r America i'r Gymmanfa, a thaer erfynir ar yr holl Saint i ymdrechu cyflawni yr adduned a wnaethom er cynnorthwyo y Saint sydd yn yr anialwch, erbyn yr amser hwnw.

Dysgwyliwn y bydd i'r gwahanol lywyddion drwy Gymru ofalu am hyn.

CYNNWYSIAD.



MERTHYR-TYDFIL:

CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES, AC AR WERTH HEFYD GAN Y SAINT YN GYFFREDINOL.

ARGRAFFWYD GAN JOHN JONES, RHYDYBONT.

